# MEL MYFYRDOD:

## PREGETHAU, TRAETHODAU, BARDDONIAETH,

## AC AMRYWIAETHAU.


GAN Y

PARCH. H. E. THOMAS, D. D.,

PITTSBURGH, PA.


"Bydd melus fy myfyrdod am dano."—Ps. 104: 34.


UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, 131 GENESEE ST.

1882.

# AT Y DARLLENWYR.

---

Dyma y bedwaredd gyfrol i mi gyhoeddi yn fy oes, ond y gyntaf yn yr America; a hon mewn llawer ystyr yw yr anturiaeth lenyddol fwyaf yr ymgymerais â hi erioed. Yr wyf yn teimlo yn ddiolchgar am y gefnogaeth wyf eisoes wedi gael mewn atebiad i'r cylchlythyrau a anfonais allan, o bob parth o'r wlad hon a'r Hen Wlad. Os gwnaf ryw elw oddiwrth y gyfrol, ni wna neb teg ei warafun i mi, gan na fwyteais erioed fara seguryd, ac y mae y gwaith yma wedi costio llafur mawr i mi. Yr wyf yn bwriadu cysegru yr ychydig elw a allaf wneyd, at roi addysg uwchraddol i'm plant. Gobeithiaf hefyd yn ddidwyll y gwna fy llyfr les gyda bendith Duw i'm cenedl. Drwg genyf am yr ychydig wallau argraffyddol sydd wedi llusgo i mewn, o herwydd fy mhellder oddiwrth y swyddfa.

Yr eiddoch yn serchog,

H. E. THOMAS.

86 *Ross Street, Pittsburgh, Pa., Mai* 18, 1882.

# CYNWYSIAD.

## PREGETHAU.

## TRAETHODAU.



## BARDDONIAETH.



## AMRYWIAETHAU.

# MEL MYFYRDOD.

## PREGETHAU.

### PREGETH I.

#### IESU GRIST A'R HEN DESTAMENT.

**"A chan ddechreu ar Moses, a'r holl brophwydi, efe a esboniodd iddynt yn yr holl Ysgrythyrau y pethau am dano ei hun."—Luc 24 : 27.**

Heb wneyd dim sylwadau ar amgylchiadau arweiniol y testyn, myfi a gaf geisio dwyn dau wirionedd mawr sydd yn eglur yn y geiriau.

I. FOD IESU GRIST, EIN PRIF ATHRAW MEDDYLIOL, YN CYDNABOD DWYFOLDEB, AWDURDOD, A CHYWIRDEB YSGRYTHYRAU YR HEN DESTAMENT.

Y mae tuedd mewn rhai yn yr oes hon i fychanu yr Hen Destament. Nid felly y gwnai Iesu Grist. Y mae yn wir ein bod yn y Testament Newydd yn cael datguddiad helaethach am Dduw a'i drefn i gadw dyn, nag a geir yn yr Hen; ond y mae pethau yn yr Hen nad all y byd hyd heddyw, nac o hyn hyd ddiwedd amser, wneyd hebddynt. Y mae hyd yn nod y gosodiadau seremoniol a chysgodol sydd erbyn hyn wedi diflanu yn hollol o ran eu ffurfiau, yn cynwys egwyddorion arosol a bendithiol i'r byd. Ofer ceisio

# MEL MYFYRDOD.

## PREGETHAU.

### PREGETH I.

IESU GRIST A'R HEN DESTAMENT.

"A chan ddechreu ar Moses, a'r holl brophwydi, efe a esboniodd iddynt yn yr holl Ysgrythyrau y pethau am dano ei hun."—Luc 24 : 27.

Heb wneyd dim sylwadau ar amgylchiadau arweiniol y testyn, myfi a gaf geisio dwyn dau wirionedd mawr sydd yn eglur yn y geiriau.

I. Fod Iesu Grist, ein prif athraw meddyliol, yn cydnabod dwyfoldeb, awdurdod, a chywirdeb Ysgrythyrau yr Hen Destament.

Y mae tuedd mewn rhai yn yr oes hon i fychanu yr Hen Destament. Nid felly y gwnai Iesu Grist. Y mae yn wir ein bod yn y Testament Newydd yn cael datguddiad helaethach am Dduw a'i drefn i gadw dyn, nag a geir yn yr Hen; ond y mae pethau yn yr Hen nad all y byd hyd heddyw, nac o hyn hyd ddiwedd amser, wneyd hebddynt. Y mae hyd yn nod y gosodiadau seremoniol a chysgodol sydd erbyn hyn wedi diflanu yn hollol o ran eu ffurfiau, yn cynwys egwyddorion arosol a bendithiol i'r byd. Ofer ceisio

dyrchafu y Testament Newydd, ar draul darostwng yr Hen, oblegid nis gellir deall y Newydd heb fod yn bur gyfarwydd yn yr Hen.

Beth bynag a ddywed awduron a beirniaid Ellmynaidd, Seisonig, ac Americanaidd, gwell genyf fi farn yr Athraw Mawr fyrddiynau o weithiau. Nid oes un awgrym na sill yn unman ganddo, i fychanu yr Hen Destament. Y mae "Moses" a'r "holl brophwydi" yn cynwys y ddau raniad mawr ar yr Hen Destament, ac y mae Iesu Grist yn cymeradwyo yr oll. Dilynwch ef trwy ei deithiau, gwrandewch ar ei ddarlleniadau detholedig yn y synagogau, craffwch ar ei sylwadau treiddgraff wrth bersonau neillduol, sylwch ar ei bregethau a'i anerchiadau yn y lleoedd mwyaf cyhoeddus, ac ni chewch ef yn un man yn condemnio ysgrythyrau yr Hen Destament, nac yn beio yr Iuddewon am eu darllen a'u credu; yr unig beth a wna ydyw eu beio yn drwm am eu cam esbonio. Dangosai ef y parch uchaf i holl ysgrythyrau yr Hen Destament yn mhob man, ac ar bob amgylchiad. Gwyddai ef pwy oedd ei genhadon anfonedig am dros dair mil a thri chant o flynyddoedd. Ei ysbryd ef oedd yn cyfarwyddo Moses, ac yn tanio meddwl yr holl brophwydi. Pe buasai Moses wedi gwneyd camgymeriad, neu un o'r prophwydi wedi cyfeiliorni, nid oedd neb a allasai nodi hyny allan o flaen Iesu Grist. Ymddwyn a siarad gyda y parch mwyaf y mae efe at yr Hen Destament ar bob adeg ac achlysur. Pan y mae yn egluro cyfraith priodas, sydd mor bwysig i'r gymdeithas ddynol, cyfeiria at Genesis (pen. 1: 27); drachefn pan y mae yn profi athrawiaeth adgyfodiad y meirw i'r Saduceaid a'r Phariseaid, gwna hyny trwy

gyfeirio at lyfr Exodus (pen. 3: 6); a thrachefn profa ei ddwyfoldeb ei hun trwy gyfeirio at ymadroddion mewn dwy o'r Psalmau (82, 110); pan yr oedd mewn brwydr a'r diafol, gwna yr ymadrodd "ysgrifenwyd," fel cleddyf byw i drywanu drwyddo dair gwaith; pan yn terfynu ei weinidogaeth, ac yn marw ar y groes, dyfyna o'r ail Psalm ar hugain; ac wedi adgyfodi o'r bedd prydnawn y dydd cyntaf o'r wythnos—y Sabboth Cristionogol cyntaf, dyma ef yn myned trwy lyfrau "Moses a'r prophwydi" i ddangos fel yr oeddynt yn cyfeirio ato ef.

Ni fu yr un dysgawdwr erioed yn rhoi mwy o barch i'r Hen Destament na Iesu Grist. Dywed fod y rhan leiaf o'r gyfrol fendigedig hon yn meddu mwy o werth a pharhad na'r nefoedd na'r ddaear. Y mae yn sicrhau yn y modd mwyaf pendant na ddaeth i dori a bychanu yr Hen Destament. "Na thybiwch," meddai, "fy nyfod i dori y gyfraith, neu y prophwydi; ni ddaethum i dori, ond i gyflawni. Canys yn wir meddaf i chwi, hyd onid êl y nef a'r ddaear heibio, nid â un iod nac un tipyn o'r gyfraith heibio, hyd oni chwblhaer oll." Yn awr y mae yn eithaf eglur fod ein Hathraw Mawr yn rhoi y bri mwyaf ar yr Hen Destament. Os ydym am gydnabod ei awdurdod ef fel dysgawdwr, oni ddylem ymddwyn fel yntau yn hyn? Y mae ymddygiad Crist at yr Hen Destament yn un o'r prawfion cryfaf i ni o'i ddwyfoldeb a'i gywirdeb.

Pwy sydd am fychanu yr Hen Destament? Enwer llu yn Germani, yn Lloegr, ac Ysgotland, ac yn yr America; ond tra cofiaf y modd yr ymddygodd yr Athraw goreu o bawb ato, minau a'i parchaf, a'i chwiliaf, ac a'i pregethaf. Gallaf gydymdeimlo a glowr

Cymreig adawodd ardal Neuaddlwyd, Sir Aberteifi, pan yn lled ieuanc, ac a symudodd i lofeydd Mynwy a Morganwg, ac ymfudodd oddiyno i'r America, gan ymgartrefu yn nghanol estroniaid, lawer o honynt a wadent y Beibl, yn enwedig yr Hen Destament, ac a ddaeth driugain milldir i ymofyn Beibl Cymreig, a gofynai yn bryderus a gofalus i swyddog y Feibl Gymdeithas—"A oes genych Feibl Cymraeg cyflawn yma?" Ac wedi ei sicrhau fod yno un, gyfynodd yntau wed'yn, "A ydyw Genesis ynddo ac Exodus, a holl lyfrau Moses?" "Ydynt." "A ydyw y Testament Newydd i gyd yna?" "Ydyw." "Wel a ydyw yr Apocrypha yna?" "Nac ydyw, wir." "Wel," meddai, "yr oedd hwnw yn Meibl fy mam yn Neuaddlwyd, ond fe wna y tro os ydyw yr Hen Destament a'r Newydd yna." Yr oedd wedi cael ei flino gan ymgecrwyr a wawdient yr Hen Destament, ond yr oedd am Feibl cyflawn fel ei fam. Ceisia rhai ddarnio llyfrau Moses, a rhanau helaeth o'r Hen Destament, ond y mae arnaf eisiau pob un, ac y mae miloedd fel finau. A gymeri Genesis ymaith? Pa beth a wnawn am hanes creadigaeth y byd a dyn? Yn mha le y cawn ddarluniad mor aruchel a chyson o'r modd y mae y gallu ysbrydol wedi creu, a ffurfio mater? Y mae llyfr Genesis yn dyfod yn fwy ffres bob dydd, ac yn fwy gwerthfawr i'r byd meddyliol, fel y dengys yr ymroad ychwanegol sydd y blynyddoedd diweddaf i ddysgu yr Hebraeg. A wrthodwn ni Exodus? Yno y cawn y ddeddf foesol sydd yn asgwrn cefn cymdeithas dda yn mhob oes a gwlad. Nis gellir byw mewn dinas, na gwlad, na thalaeth, heb lyfr Exodus. Pwy a ymgymerai a chodi cymdeithas dda mewn undeb mawr a chadarn fel Am-

erica, o'r cymysgedd rhyfedd o ymfudwyr sydd yn dod yma bob blwyddyn, heb egwyddorion anghydmarol y llyfr gwerthfawr hwn? Ai llyfr y Barnwyr a daflwn allan? Beth a wnawn fel gwerinwyr wed'yn? Dyma lyfr sydd yn dangos y modd y rheolwyd cenedl am oddeutu pedwar cant o flynyddoedd, heb frenin i'w llywodraethu. Ai llyfrau Ruth ac Esther a adawn heibio? Bydd holl ferched da a meddylgar y byd yn ein herbyn. Yma yr esbonir y modd y gwna Duw ofalu am y gweddwon a'r amddifaid, am deuluoedd unigol, a chenedl neillduol trwy ei Ragluniaeth fanwl a doeth. Ai llyfr Job a fwriwn ymaith? Beth a wna canoedd mewn *panics* heb hanes y gwr a ddaeth o lawnder a chyfoeth i domen tlodi, ac a godwyd trwy amynedd a ffydd i fwy o lwyddiant nag erioed? Ai llyfr y Psalmau a geuir allan? Pa fodd y gallwn ganu na gweddio hebddo? Dyma hefyd lyfr profiad yr eglwys. Gwael fydd ein cyfeillachau heb ymadroddion pwrpasol a phrydferth y llyfr amrywiol hwn. Ai Esaiah a nodir i warth? Beth a feddylia beirdd y byd am sarhau un o feirdd penaf Duw? Ai llyfr Jonah a wrthodir? Beth a wnawn wrth groesi y môr hebddo? Pan yn nghanol y dymestl, a'r moryn mynyddfawr yn ymluchio i'r llestr, neu wrth edrych ar y morfilod yn cadw eu cymanfa yn nghanol yr eigion, ac yn taflu dwfr fel simneiau gwynion ac uchel o darth, oni fydd yn dda cofio am Dduw Jonah? Neu a benderfynir cau Amos allan o'r gyfrol sanctaidd? Pa fodd y teimla bugeiliaid ac amaethwyr y byd wrth weled y fath ddirmyg at un cysegredig o'u galwedigaeth?

Fel hyn y mae yr Hen Destament drwyddo yn dyf-

od yn werthfawr yn yr oes hon. Pan yr edrychir yn bwyllog, fe welir fod pob rhan o hono yn ateb i chwaeth ac angenion amrywiol dynoliaeth. Ac y mae yr anrhydedd a osododd Iesu Grist arno yn peri i ninau ei anrhydeddu, gan nad beth a ddywed beirniaid ymhongar yr oes.

II. Mai Iesu Grist ei hun yn ei berson a'i waith, yw prif gymeriad yr Hen Destament. "Efe a esboniodd iddynt yn yr holl Ysgrythyrau y pethau am dano ei hun."

Dysgir yma yn gyntaf fod cyfeiriad nid un rhan o'r Hen Destament, ond "yr holl Ysgrythyrau" ato ef; yn ail fod mwy nag un peth yn nghymeriad Iesu Grist yn tynu sylw "Moses a'r prophwydi," gan ei fod yn esbonio "y pethau am dano ei hun;" yn drydydd, nas gallent hwy ddeall hyn heb ei eglurhad ef; "Efe a esboniodd iddynt." Diolch am esboniad dysgedigion Germani, Lloegr, ac America, heb anghofio rhai Cymru; dynion gwerthfawr ydynt, a gwnaethant wasanaeth anmhrisiadwy. Yr oedd yn dda genyf gael ysgwyd llaw ag Albert Barnes, ac ymgydnabyddu a Dr. Jacobus; yr oedd ôl myfyrio y Beibl ar eu gwynebau. Ond gwell genyf esboniad Crist na'r un o honynt.

Rhaid fod rhyw fawredd anfeidrol yn Iesu Grist i honi fod yr holl Ysgrythyrau yn cyfeirio ato ef fel eu gwrthddrych. Beth pe gwnaethai Pedr neu Paul hyn? Aethent i warth bythol. Ond y mae efe yn ddigon mawr i wneyd hyn. Ato yr ymlifa yr oll fel yr afonydd i'r môr. Oddeutu dinas Pittsburgh y mae dwy afon fawr—y Monongahela un ochr, a'r Allegheny yr ochr arall, ac yn y pwynt ymlifa y ddwy i'w gilydd, gan ffurfio yr Ohio fawr. Felly y mae llyfrau

"Moses" un ochr, a'r "holl brophwydi" yr ochr arall, yn ymlifo i fôr gwirionedd a chariad yr Emmanuel.

Pa fodd y mae Iesu Grist yn brif gymeriad yr holl Ysgrythyrau? Y mae yn sylweddoli yr holl gysgodau, yn ateb i'r holl ragfynegiadau, ac yn cymeryd i fyny yr holl swyddau. Ond y mae amryw bethau eraill a gaf nodi sydd yn dangos gogoniant *idea* goruchel y Beibl yn ei wneyd yn brif gymeriad.

1. *Dyma yr unig un a feddai lywodraeth drwyadl ar ddeddfau natur.*—Meddyliwch am ddyn cydmarol ieuanc, wedi ei fagu mewn tref fach fynyddig, mewn amgylchiadau cydmarol isel, yn myned i Cana heb fod yn mhell o'i gartref, ac yn troi y dwfr yn win--dangos ei *allu* a'i *garedigrwydd*, yr egwyddorion sydd yn amlwg trwy ei holl wyrthiau. Dyma ddwfr, un o'r elfenau cryfaf mewn natur, yn troi yn win wrth ei arch.

"Fe wridai'r gwylaidd ddw'r wrth wel'd ei Dduw."

Ie, troi yn win, nid yn wenwyn. Dilyned ef er ei ganfod yn cyflawni y gwyrthiau mwyaf rhyfeddol a bendithiol yn ei wlad ei hun, yn ngolwg y miloedd—yn iachau clefydau, agoryd llygaid y deillion, a chlustiau y byddariaid, yn gwneyd i'r cloffion rodio, a'r mudaniaid i lefaru, yn porthi y miloedd ag ychydig ddarpariaeth, yn tawelu y dymestl, ac yn adgyfodi y meirw—holl ddeddfau natur yn plygu fel gwiail îr wrth ei orchymyn. Hona y gwna fwy na'r rhai hyn pan y del yr ail waith ar gymylau y nef. Gollynga yn rhydd holl rwymau y moroedd, a holl genglau y mynyddoedd, dadfacha holl strapiau y ser a'r planedau, egyr ddrysau y gwyntoedd, gollynga y tân a'r trydan i oddeithio y greadigaeth, gwna nid i ychydig fyddar-

iaid yn Palestina glywed, ond i fyddariaid yr oesau wedi huno yn llwch y ddaear glywed ei leferydd ef; dyma lle y bydd agor llygaid y deillion, ac adgyfodi y meirw! Bydd pawb o honom ni yn dystion o'i allu yn y dydd hwnw. Gwna hyn oll heb ddyrysu mewn dim ei hun, nac achosi braw i neb fydd yn ymddiried ynddo. Dyma brif gymeriad y Beibl. Onid yw yn teilyngu bod?

2. *Dyma un sydd yn meddu llywodraeth deg a chyflawn ar ddyn.*—Gwnaeth gorchfygwyr mawr y byd, fel Alexander, a Cæsar, a Napoleon, ddarostwng gwledydd, ond ni fedrent orchfygu y dyn. Ond dyma un yn medru cario y fath ddylanwad ar ddyn, nes enill ei galon i'w garu, ei ewyllys i ufuddhau iddo, a'i ddeall i'w fawrygu am byth. Cafodd Saul o Tarsus ei adeiladu yn fanwl fel Pharisead am flynyddoedd, ond gwnaeth y lef fyth-gofiadwy hono, "Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i?" lwyr ddymchwel yr adeiladaeth Phariseaidd i'w sail, fel y cododd i fyny yn Gristion, a Christion yw heddyw. Y mae ganddo ef y gwirionedd cymwys i gri ymchwiliadol y byd, a'r gwirionedd cyflawn, ac nid rhyw *guess*, neu ddychymyg, neu dyb am wirionedd. "Myfi yw y ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd." Nid rhyw ddysgawdwr ar ryw wirionedd, ond dyma ymerawdwr holl gyfandir y gwirionedd. Yn sicr *idea grand* yw un y Beibl yn gwneyd hwn yn brif gymeriad.

3. *Dyma un y mae holl ragoriaethau dyn a pherffeithderau Duw yn cyfarfod yn ei berson.*—Edrychwch i'w hanes, a chwi a ganfyddwch "y dyn Crist Iesu." Yr oedd calon dyn ganddo; hoffai gyfeillach, teimlai rym bradwriaeth, tosturiai yn ngwyneb llesgedd, cyn-

hyrfai yn ngwyneb caledwch a dirmyg, ymhyfrydai mewn ffyddlondeb. Yr oedd yn wir ddyn. Yr oedd ganddo gorph ac enaid dynol, ni fuasai ond plisgyn o ddyn heb enaid dynol.

Ond yr oedd yn fwy na dyn, yn wir Dduw, "yn Dduw bendigedig." "Duw oedd efe," nid cenad Duw, nid is-dduw, ond "Duw a ymddangosodd yn y cnawd."

4. *Dyna yr un sydd wedi gwneyd dros ddyn, ac yn addaw gwneyd eto bethau na allasai, ac na all neb arall wneyd.*—Rhoddodd ei hun yn iawn dros ein pechodau. "Efe yw yr iawn," efe yn urddas ei berson, anfeidrol haeddiant ei aberth, a rhinwedd ei waed. Pe buasai pob tywodyn yn fyd, a phob byd gymaint a'r haul, a phob un o'r rhai hyn yn cael eu rhoi trwy yr oesau yn aberth ar yr un allor dros feiau y byd, ni fuasent ond fel gwegi yn ymyl ei waith yn rhoddi "ei hun" drosom. Nis gallasai neb sefyll yn ein deddfle ar Galfaria ond efe. Y mae hefyd wedi sefydlu ei eglwys yn y byd, ac wedi ei chynal, ei chysuro, a'i llwyddo er pob ystryw a ddefnyddiodd uffern yn ei herbyn. Y mae wedi *mapio* pob rhan o'r ddaear i ddyfod o dan ei lywodraeth rasol. Caiff teulu y codwm mawr trwy bob llecyn o'r ddaear glywed am ei gariad mawr. A phenderfyna godi tyrfa na ddichon neb ei rhifo i wynfyd bythol y nef.

Edrycher ar hyn oll. Pa ryfedd i'r holl ysgrythyrau gyfeirio at y pethau perthynol i hwn. Efe yw bywyd y Beibl i gyd; llyfr wedi ei andwyo, wedi ei ladd, a fyddai heb Iesu Grist. Efe yw cnewullyn yr holl ysgrythyrau, a'u canolbwynt byw. Yr wyf yn teimlo

cyneerwydd a pharch newydd i'r Hen Destament wrth feddwl ei fod yn cyfeirio drwyddo oll at Iesu Grist.

---

## PREGETH II.

### TEULU DUW.

"Ac yn deulu Duw."—EPHES. 2 : 19.

Un o'r moddion mwyaf effeithiol i'n dwyn ni i fawrhau gras Duw yn y presenol, ydyw i ni gofio yr hyn oeddym pan y cafodd gras afael arnom. Yr oedd yn arferiad yn Munich, prif dref Bavaria, os byddai rhyw hogyn yn cardota yn yr heol, yn ddigartref a diamddiffyn, i'w gymeryd ef i nawddle addysgol, er ei gymwyso at ryw waith buddiol yn y wladwriaeth; ond cyn ei drosglwyddo i ofal y sefydliad, byddai arlunydd yn cael ei alw i mewn, i dynu ei lun, a'i wyneb yn fudr, ei ddillad yn garpiog, a'i draed yn noethion, yn union fel y caed ef ar yr heol. Yna byddent yn ei olchi a'i wisgo yn lanwaith. Ond cyn ei ollwng o'r sefydliad wedi bod yno rai blynyddoedd, byddai llywydd y sefydliad yn myned i ryw gist, ac yn tynu allan y darlun dynwyd o hono pan y daeth i mewn, ac yn ei estyn iddo, ac yn gwneyd iddo fyned ar ei lw y gwnai ei gadw tra y byddai byw, er mwyn iddo bob tro yr edrychai arno, gofio yn mha sefyllfa isel yr ydoedd pan y daeth i'r sefydliad, ac wrth weled y cyfnewidiad wnaed arno, iddo deimlo ei rwymedigaeth i'r sefydliad am ei oes, a gwneyd yr oll a allai er ei gynal, er i ryw fechgyn tylodion fel yntau gael manteision cyffelyb.

Rhywbeth felly yw y paragraph olaf sydd gan Paul yn y benod hon. "Am hyny cofiwch, a chwi gynt yn genedloedd yn y cnawd." Yr oedd gan Dduw ei genedl etholedig a dewisedig o blith holl genedloedd y ddaear, ond nid oeddych chwi yr Ephesiaid yn perthyn iddi; "cenedloedd" oeddych chwi. Yr oedd plant bach yr Israeliaid yn meddu arwyddion eu bod yn perthyn i gyfamod Duw, ond "y rhai a elwid yn ddienwaediad" oeddych chwi. Gwnaeth Duw gyfamod âg Abraham, ac â Dafydd a'i dy yn dragywydd, ond ni wyddech chwi ddim am hyny; "estroniaid" oeddych chwi "oddiwrth amodau yr addewid." Nid yn unig yr oedd yn ddigysur arnoch ar y pryd, ond nid oedd un seren o obaith yn eich ffurfafen; "heb obaith genych." Gwir fod genych dduwiau a duwiesau, ac mai "mawr yw Diana yr Ephesiaid," ond y gwir am danoch wedi y cwbl yw, "heb Dduw yn y byd" yr oeddych cyn i ras ymweled a chwi. "Cofiwch" hyn.

Ond os ydych chwi wedi cael golwg iawn ar eich sefyllfa wreiddiol fel pechaduriaid, gadewch i ni edrych ar y cyfnewidiad a wnaeth gras arnoch. "Eithr yr awr hon yn Nghrist Iesu, chwychwi y rhai oeddych gynt yn mhell, a wnaethpwyd yn agos trwy waed Crist." Pell iawn oeddych oddiwrth Dduw a'i bobl, o ran cyflwr a breintiau, ond yr ydych erbyn hyn wedi eich dwyn "yn agos," ond cofiwch mai "trwy waed Crist" y gwnaed hyn â phechaduriaid o'ch bath. "Weithian gan hyny nid ydych chwi mwyach yn ddyeithriaid a dyfodiaid." Dichon fod yma gyfeiriad at rai o gyfreithiau dinasol perthynol i'r dwyrain. Ni feiddiai "dyeithriaid a dyfodiaid" am dro fasnachu

mewn dinas heb gael enw un o'r dinaswyr i'w roddi fel arwydd uwchben y fan y gwerthid y nwyddau; heb wneyd hyny pe buasai rhyw un yn lladrata eu nwyddau, neu yn pallu talu swm teg am danynt, ni fuasai yr awdurdodau yn ymyryd dim a'u cwynion. Dyna fel yr oeddych chwithau yr Ephesiaid cenedlig; nid oedd genych un hawl ar ragorfreintiau yr hen oruchwyliaeth heb gael enw yr Iuddew arnoch trwy broselytiad; ond erbyn hyn, "weithian gan hyny, nid ydych chwi mwyach yn ddyeithriaid a dyfodiaid, *ond yn gyd-ddinasyddion a'r saint.*" Yr ydych yn *citizens* eich hunain o dan yr efengyl, a mwy na hyny—"ac yn deulu Duw." Y mae gwahaniaeth mawr mewn bod "yn gyd-ddinasyddion," a bod o'r un "teulu." Mi welais filoedd o dylodion Llundain a allasent ymffrostio yn eu carpiau a'u budreddi eu bod "yn gyd-ddinasyddion" a'r duciaid, a'r iarllod, a'r pendefigion uchaf yn y ddinas, ond nid oeddynt o'u "teulu." Ond y mae gras y nefoedd yn dyfod a phechaduriaid fel nyni nid yn unig i'r un ddinas a'r saint, ond i fod yn "deulu Duw."

Gadewch i ni ymofyn yn awr beth a gynwysa hyn? Er ateb hyn edrychwn ar *bobl yr Arglwydd fel* TEULU, ac yna ar *yr urddas a berthyn iddynt fel* TEULU DUW.

I. POBL YR ARGLWYDD FEL "TEULU."

1. *Y mae perthynas neillduol rhyngddynt a Duw, ac a'u gilydd fel teulu.*—Y mae pawb yn y teulu yn aelodau o hono, naill ai trwy enedigaeth, mabwysiad, neu gyfamod. Y mae y mab a'r ferch yn aelodau o hono yn fwyaf cyffredin trwy enedigaeth, ond weithiau trwy fabwysiad; ac y mae y gwas a'r forwyn yn

aelodau o hono trwy gyfamod. Pan edrychir ar bobl yr Arglwydd yn eu hanian a'u rhagorfreintiau uchel, fe siaradir am danynt yn benaf fel plant i Dduw, wedi eu geni o Dduw, yn eu perthynas enedigaethol. "Canys chwi oll ydych blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu." Ond pan yr edrychir arnynt yn wrthddrychau trugaredd, tosturi a gras rhyfeddol Duw, fe sonir am danynt fel estroniaid wedi eu mabwysiadu yn blant. "Wedi iddo ein rhagluniaethu ni i fabwysiad" (*fel meibion*, yn ol y cyfieithiad diwygiedig), "derbyniasoch ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain Abba, Dad." A phan y cyfeirir at eu llafur, eu gweithgarwch, a'u dyledswyddau crefyddol, fe edrychir arnynt yn benaf yn eu perthynas gyfamodol fel "gweision" Duw, a "llafurwyr" yn ei winllan, a "chydweithwyr Duw."

Darllenais am un llwyth dwyreiniol yn myned i ryfel â llwyth arall, ac wedi brwydr waedlyd, gorchfygwyd un o'r llwythau, a chasglwyd nifer o garcharorion rhyfel o flaen y penaeth buddugol. Dyna lle yr oeddynt yn grynedig ar eu gliniau, a'u dwylaw yn rhwym. Elai yntai heibio i'r rhesi o honynt, a safodd yn ymyl dyn ieuanc glandeg, cryf, a thalentog ei olwg, a dywedodd wrth ei swyddogion, "Gollyngwch y gwr ieuanc yna yn rhydd." Gwnaed hyny. Trodd at y gwr ieuanc, a dywedodd wrtho, "Dyna ti, fy machgen, yn rhydd yn awr, a ddeui di i fy ngwasanaeth i? Carwn dy gael yn was." "Deuaf o fodd fy nghalon," meddai y llanc, "y mae yn dda genyf gael dyfod i wasanaeth tywysog sydd wedi fy ngollwng yn rhydd." Wedi iddo fod yn ei wasanaeth am flynyddoedd, trodd y penaeth ato a dywedodd wrtho, "Yr wyt wedi bod

yn was da, ufudd, a gonest i mi am flynyddoedd, carwn dy anrhydeddu. Nid oes yr un mab genyf, ond y mae merch genyf, yr wyf yn ei gadael at dy ddewis di a hithau i fod yn wraig i ti, os gelli lwyddo i'w chael." Yn wir rhoddodd well cynyg nag a roddai siopwyr, amaethwyr, a mân foneddigion Cymry i'w gweision er ys llawer dydd. Ymddengys fod gan y dyn yma gryn dalent i enill serch merched. Llwyddodd i gael ganddi ei briodi, ac yr oedd yn hoff iawn o hono. Ar ol y briodas daeth y penaeth at y gwr ieuanc, a dywedodd wrtho, "Yr wyt ti bellach yn fab i mi, ac yn etifedd i fy nheyrnas, rhaid i ti dynu y dillad gwas yna oddiam danat o hyn allan." Fe gafodd Duw y nefoedd lawer o honom yn gaeth, nid traed a dwylaw, ond eneidiau a serchiadau yn rhwym yn nghadwynau pechod, ond fe ddywedodd y gair nerthol hwnw a dorodd y cadwynau, ac a ddaeth a'r enaid yn rhydd, ac yn y rhyddid yma daethom i deimlo ein bod yn *weision* i Dduw; a pho bellaf yn mlaen yr ydym yn cyraedd yn ein bywyd crefyddol, yr ydym yn dyfod i deimlo ein bod yn *blant* iddo trwy fabwysiad a genedigaeth. Fel hyn yr ydym mewn perthynas neillduol a Duw. Yr ydym yn perthyn yn agos i'n gilydd hefyd. "A chwithau oll brodyr ydych."

2. *Fel teulu y mae yma ddarpariaeth ar gyfer pobl yr Arglwydd.*—Y mae yn ddyledswydd ar bob pen teulu i ddarparu ar gyfer ei deulu. Os oes rhyw un heb wneyd hyny y mae "yn waeth na'r diffydd." Nid pobl wedi eu gadael heb neb i drefnu ar eu cyfer ydyw pobl Dduw. Pwy sydd yn gwneyd? "Yr Arglwydd a ddarpara." "Llawn ddigonir hwynt â brasder dy dŷ, ac âg afon dy hyfrydwch y dïodi hwynt."

"Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd o basgedigion, gwledd o loyw-win; o basgedigion breision, a gloyw-win puredig." Byddwn byw yn dda, y mae y pen-teulu wedi trefnu digon ar ein cyfer.

3. *Y mae yma lywodraeth ar bobl yr Arglwydd fel teulu.*—Y llywodraeth deuluaidd oedd y lywodraeth gyntaf y buom ni oll oddi dani, a hi oedd y berffeithiaf, os ydoedd fel y myn Duw natur a gras iddi fod. Trwy ymostwng i'r llywodraeth deuluaidd, y mae rhai yn cael eu cymhwyso i bob llywodraeth arall. Os anufuddheir i hon, ond odid na effeithia hyny ar y plant pan o dan lywodraeth eglwysig a gwladol. Gwyddom mai y pen-teulu sydd i lywodraethu yn y ty. Nid oes gan na brenin na brenines, na llywydd nac arlywydd, hawl i ddyfod i gadair neb i lywodraethu ar y teulu, heb ganiatad gwr y ty. Pwy sydd i lywodraethu ar deulu Duw? Y pen-teulu sydd i wneyd yma. Ceisia y Pab gael y llywodraeth, ac eistedda yn fawreddog yn nhy Dduw. Ond y mae ei lywodraeth yn cael ei gwrthod hyd yn nod yn Itali, a Rhufain ei hun. Na osoded neb law greulon arno fel dyn, ond fel Pab darfydded ei lywodraeth dros y byd. Y gwr a "osododd Duw" sydd i lywodraethu ar y teulu.

4. *Ceir yma debygrwydd ynddynt fel teulu.*—Y mae y plant yn debyg i'w rhieni, ac i'w gilydd. Chwi ewch i'r hen fro eich ganwyd, wedi bod yn absenol am wyth, deg, i bymtheg mlynedd, a chwi a gewch yno y plant yn chwareu yn braf gyda eu gilydd ar y twynydd, neu yr heolydd, neu wedi eu casglu yn gryno gyda eu gilydd i'r ysgol ddyddiol, neu i'r ysgol Sabbothol, a chwi a wnewch allan rai o honynt yn union, ac a ddy-

wedwch wrth gyfaill gerllaw, "Yr wyf yn adnabod y plant hyn; y maent wedi eu genu a'u magu hyd yma ar ol i mi fyned o'r ardal i fyw, ond y maent mor debyg i'w tad a'u mam, ac i'w brodyr a'u chwiorydd hynaf, fel y gwn yn burion pwy ydynt." Ond fe fydd yno blant eraill y methwch eu gwneyd allan, a dywed eich cyfaill wrthych, "Wel, nis gellwch adnabod y rhai hyn, oblegid ar ol i chwi fyned oddiyma y daeth eu rhieni i fyw yma." Adwaenir plant Duw oddiwrth eu Tad, a'u brawd hynaf. Nid yw yn rhyfedd fod y byd yn methu adnabod plant Duw, oblegid nad ydynt yn adnabod eu Tad. "Oblegid hyn nid edwyn y byd chwi; oblegid nad adnabu efe ef." Ac y maent nid yn unig yn debyg i'w Tad, ond y maent hefyd yn debyg i'w gilydd, yr un anian, yr un wisg, yr un rhodiad, yr un ddelw.

5. *Y mae amrywiaeth yn perthyn iddynt fel teulu.*— Chwi a ewch i deuluoedd lle y bydd llawer o blant, a theuluoedd ardderchog yw rhai a llawer o blant ynddynt. Mi a obeithiaf nad yw y Cymry, fel rhai Americaniaid yn arswydo rhag cael llawer o blant. Y fath wrthuni mewn gwlad fawr doreithiog fel hon! Ond pan y cewch "lon'd y ty o blant," ni chewch hwynt oll yr un oed a maint. Chwi a gewch yr hynaf tua deunaw i ugain oed, y llall o'r pymtheg i'r deunaw, y llall o'r deuddeg i'r pedair-ar-ddeg, ac fel yna nes i chwi ddod at y bach lleiaf yn ei gryd. Nid yw ond chwech wythnos oed, ni fedr gerdded yr un cam, dyweyd yr un gair, na gwneyd dim drosto ei hun na neb arall, ond gocheled neb roi llaw greulon arno, er mai un bach ydyw, y mae yn y berthynas, ac y mae pawb trwy y ty yn ei arddel ac am ei amddifyn. Na

ddysgwyliwn gael pawb yr un faint
y mae rhai yn fwy eang yn eu gwy
addfed yn eu profiad, yn fwy cadarn
fwy clir yn eu gobaith, yn fwy tanllyd
yn fwy helaeth yn eu llafur; ond na wn
rhai bach; "rhai bach yn Nghrist" ydyn

6. *Dangosir hefyd yn mysg y teulu gya ... mlad mawr.*—Y mae "y gwaed yn dwymn ac yn dwyllodrus iawn." Da iawn hyny mewn llawer amgylchiad, onide byddech heb ymgeledd na gofal. Ond fe welwyd rhai o'r un teulu yn gas wrth eu gilydd lawer tro. Gwell peidio dyweyd dim rhyngddynt; pan yr ydych yn meddwl eich bod yn boddio un wrth drin y llall, chwi a'i clwyfwch yn ddiarwybod at ei galon. Chwi a welsoch ddau frawd bach yn ffraeo â'u gilydd yn dost, ond dyma fachgen o deulu arall neu ardal arall yn dod ac yn curo un o'r brodyr, dacw ei frawd yn union yn troi at yr estron, ac yn helpu ei frawd i'w yru i ffwrdd, er ei fod newydd ei guro ei hun. Pa ryfedd? Brodyr ydynt. Fe welwn y gwahanol enwadau yma dipyn yn gas wrth eu gilydd, ond pan ddaw yr estron o Babydd i drin eu Beibl, neu yr estron o anffyddiwr i drin eu Crist, cydunant a'u gilydd i sefyll yn eu herbyn. Pa ryfedd am hyn eto? Yr un teulu ydynt.

7. *Ac hefyd y mae neillduolrwydd yn perthyn i deulu.*—Y mae pob teulu yn gymdeithas fach ar ben ei hun. Deua rhai i gyrddau o wahanol deuluoedd, a dychwelant yn ol at yr eiddynt. Fel hyn y mae gwaith y byd yn cael ei gario yn mlaen yn rhwydd a dymunol. Y mae gan bob teulu eu pethau eu hunain, a dylent gael llonydd i'w cadw; "castell pob dyn

yw ei dy ei hun," ac os na fydd yn ddiogel yn ei gastell, yn mha le y bydd? Y mae rhyw ddosbarth o bobl y maent eisiau gwybod pob peth sydd yn myned yn mlaen yn mhob teulu, y maent a'u llygaid a'u clust yn nhwll clo eu cymydogion. Gadawer pob peth yn ei fan. Wrth gario petbau o'r naill dy i'r llall, edrycha yn anweddus a gwrthun iawn, ond eu gadael yn eu man, y maent fel dodrefn yn ffitio eu lle. Felly y mae gan bob eglwys, a phob enwad, eu pethau neillduol eu hunain, a gwell eu gadael yn eu lle. Beth yw y gyfeillach eglwysig? Man i drafod *family affairs* teulu Duw ydyw. Na charir hwynt i'r byd, na chluder hwy i eglwysi nac enwadau eraill.

II. YR ARBENIGRWYDD SYDD YN PERTHYN I BOBL YR ARGLWYDD FEL TEULU DUW.

Chwi welwch mai y "saint" sydd yn nodweddu y ddinas, ond "Duw" sydd yn nodweddu y teulu. Myfi a gyfyngaf fy hun i ryw dri sylw ar hyn.

1. *Dyma y teulu mwyaf hynafol, pendefigaidd, ac urddasol yn y byd.*—Ymffrostia llawer yn hynafiaeth eu teulu, a'u gwaedoliaeth uchel; ond ychydig yw y rhai hyny. Cyfeiriant at iarllod, a duciaid, arglwyddi, ac ysweiniaid yn eu teulu. Nis gall llawer o honom ni wneyd hyny. Ond y mae miloedd a allant ymffrostio mewn cyfathrach uwch. Tad y rhai hyn yw "Tad tragwyddoldeb."—"Yr Arglwydd, Creawdwr cyrau y ddaear.

2. *Dyma y teulu mwyaf cyfoethog yn y byd.*—Y mae gan gyfoeth ei ddylanwad mawr. Ymgyfyd rhai i gyfoeth mawr, ac enillant deitlau. Colla rhai gyfoeth, a chollant eu teitlau. Gwelais benod faith o rai wedi colli eu teitlau trwy golli eu cyfoeth. Y mab

yn gadael y teitl o'r neilldu—yr wyr heb son am dano, a'r gorwyr wedi ei ebargofi yn hollol. Ond bendigedig fyddo Duw, y mae y cyfoeth a'r teitl, a'r teitl a'r cyfoeth yn aros yn y teulu yma. Yn mha le y mae eu cyfoeth? Gwelir llawer o honynt yn dylawd. Y mae llawer hen wreigan dduwiol yn byw ar lethrau y mynydd uchel yn Nghymru, yn swn brefiadau y defaid, a murmur y dwfr grisialaidd, na wyr neb yn Llundain ddim am dani. Ond y mae prif weinidog y nef, ac Arglwydd y gogoniant, a chenadau uchel ei lys yn gwybod am dani. Y mae angylion y nef wedi bod ddegau o weithiau ar eu hadenydd cryfion a chyflym yn ymweled a'i bwthyn llwyd, ac yn ei chanfod pan nad oedd llygaid dynol yn ei gweled, ar ei gliniau yn diolch am ei thamaid bara, a'i llymaid dwfr, ac y maent yn parotoi eu cerbydau erbyn y daw adref. Paham y gwneir cymaint o sylw o honi? Y mae hi yn gyfoethog iawn. Y mae ganddi etifeddiaeth uwch ser y nefoedd, mewn gwlad nad yw y lladron yn cloddio trwodd, na'r banciau yn tori, na chwyldroad byth yn codi.

Credaf mai teulu Duw a bia y ddaear, hwynt-hwy yw "etifeddion y ddaear," ac fel yr ä y byd yn mlaen tua'r mil blynyddoedd, hwy a gânt fwy o'n cyfoeth daearol o hyd. Ond yn y nef y mae eu prif gyfoeth —cyfoeth diderfyn, a dileihad am byth.

3. *Dyma hefyd y teulu mwyaf dedwydd, diogel a pharhaus.*—Teuluoedd yn cael eu rhwygo a'u chwalu yw teuluoedd y ddaear. Beth yw hanes eich teuluoedd? Gallwn ddyweyd, "Yr oedd genyf fi ddeng mlynedd yn ol fam anwyl yn fyw. Bu yn fy ngwylio yn fachgen pymtheg oed mewn clefyd blin. Yn nyfn-

dar y gauaf, ac yn nghanol y nos, pan yr oedd tywyllwch yn mhob ffenestr trwy y fro, yr oedd goleuni yn ei ffenestri hi; cadwai hi yn effro i wylio ei bachgen cystuddiol. Ond erbyn hyn y mae fy anwyl fam, 'fy anwyl fam fy hunan,' o dan y dywarchen las." Gall un arall ddyweyd, "Ddeunaw mlynedd yn ol yr oedd genyf dad, a weithiodd yn galed i'm magu, i roi dysg a galwedigaeth i mi, a meddyliais lawer canwaith am fyned i'w weled cyn ei farw. Ond y mae efe erbyn heddyw yn gorwedd o dan yr ywen hen." Gall un arall ddyweyd—"Yr oedd genyf briod mwyn ddwy flynedd i heddyw;" a gall un arall ddyweyd—"Yr oedd genyf blentyn hawddgar flwyddyn yn ol, ond daeth angeu heibio a chymerodd ef oddiarnaf, ac ni anghofiaf byth fy nheimlad wrth roi tro yn yr allwedd y noson y claddwyd ef, a chofio ei fod ef o dan y briddell oer." Fel hyn y mae ein teuluoedd wedi eu rhwygo a'u dryllio, ac os oes rhyw rai yn teimlo yn weddol gyfan yn awr, bydded iddynt gofio fod angeu ar y ffordd atynt hwythau.

Ond dyma deulu nad oes neb yn marw ynddo. Y mae eu "bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw." Fe fyddant yn ddiogel pan y bydd y môr yn berwi, y creigiau yn rhwygo, a ser y nefoedd yn diffodd.

Yn awr a gaf fi ofyn, *Perthyn i bwy yr ydych?* Y mae yn anhawdd gwneyd ein hachau naturiol i fyny, ond yn grefyddol nid oes ond dau deulu ar y ddaear —teulu Duw, a theulu diafol. Goddefer i mi ofyn eto, *A ydyw pawb gartref?* Llawer o chwalu sydd ar ein teuluoedd. Wedi i'r plant unwaith hedeg dros y nyth, anhawdd eu cael yn ol. Nid oes genyf fi erioed gôf am danom fel teulu i gyd gartref, oddieithr

un waith, os oeddym yn wir bawb o honom y pryd hwnw. Gwelais deuluoedd yn cael eu casglu yn weddol gryno at "giniaw Nadolig." Pan mewn teulu o'r fath ryw dro, gwelwn wyneb y tad yn lleithio gan ddagrau, a cheisiwn ganddo beidio ymbruddo, gan mai adeg i fod yn llawen ydoedd, "Ie, y mae yn wir," meddai, "ond y mae un ar ol—dichon fod hwnw yn ystormydd y môr heddyw, pan yr ydym ni ar yr hen aelwyd." Aeth pawb i wylo wrth gofio am y bachgen oddicartref. O faint o deulu Duw sydd oddicartref? A gaf fi ofyn eto, *Pwy sydd am droi yn ol?* Cefais y fraint o droi bachgen yn ol at ei dad oedranus a hiraethlon, ac y mae yn dda genyf byth am y tro. Ond byddai yn well genyf fod yn foddion i droi rhai yn ol at deulu Duw. Dowch yn ol, dowch yn ol, y mae eich teulu yn fyw, yn holi am danoch, ac yn hiraethlon am i chwi ddod. Fe gofir am y ferch ieuanc ddychwelodd o ffyrdd pechod yn ol adref at ei mam. Cododd glicied y drws wedi y nos, a chafodd y drws yn agored, a thân ar yr aelwyd. Clywodd ei mam hi yn wylo, a daeth i lawr ati i'w chofleidio, ac wedi ymgofleidio cynes rhwng mam a merch, gofynodd y ferch i'w mam, "Mam anwyl, paham y gadawsoch y drws yna heb ei gloi wedi y nos fel hyn?" Dywedai y fam, "Fy merch anwyl, ni fu dim clo ar y drws yna byth ar ol i ti adael cartref, gael i ti gael drws dy fam yn agored beth bynag, pryd bynag y deuit adref." Ac y mae yn dda genyf finau ddyweyd fod drws yr hen fam—eglwys Dduw, heb ei gau eto. Dowch adref at eich teulu. Carwn ofyn eto, *A gawn ni gydfyw a'r teulu yma byth?* Yr ydym wedi ffarwelio a lluaws am byth ar y ddaear. Ni

chwrddwn mwy. Ond y mae "teulu Duw" i gael eu casglu oll i'r un cartref, ac yno cânt aros "heb byth ymadael mwy." Henffych i'r dydd.

---

## PREGETH III.

### CATECISM DUW I JOB.

"Gwregysa dy lwynau yn awr fel gwr; a mynega i mi yr hyn a ofynwyf i ti."—JOB 38 : 3.

Yr oedd Job wedi dyweyd rai gweithiau y carasai gael siarad a Duw ei hun, ac ymhonai yn bur gryf y gwnaethai ei holi yn bur galed, neu ei ateb yn bur fanwl. "Galw, a myfi a atebaf; neu myfi a lefaraf, ac ateb di fi." A dyma yr Arglwydd, ar ol i Elihu y dadleuwr olaf â Job dewi, ac i Job ei hun fyned yn ddystaw, yn ateb Job o'r corwynt. Y mae hwn yn ymwneyd mawreddog a chynhyrfus â dyn, tebyg i ymwneyd Duw â Moses ar Sinai. Gofyna Duw ryw lu o ofyniadau i Job, ac erys ar y canol i roi cyfle iddo i'w ateb. Cymer bwyll gydag ef, ac anoga iddo yntau ymbwyllo ac ymwroli—"Gwregysa dy lwynau yn awr fel gwr"—fel y gwnai dwyreiniwr godi ei wisg laes, ac ymwregysu yn dŷn er mwyn bod yn barod at daith neu waith. Ond fel plentyn gwylaidd, syn, a dystaw yr ymddengys Job ger bron Duw.

Y mae y gofyniadau yma yn llawer rhy feithion i fyned trwyddynt ar un bregeth—mi a gaf ddethol rhyw ychydig o honynt, er mwyn dangos y berthynas *sydd rhwng Duw a'r greadigaeth.* Tuedda llawer o lyfrau gwyddonol y dydd at osod deddfau ar yr or-

sedd, a pheidio son am Dduw. Ond y mae y Beibl drwyddo yn dangos fel y mae pob peth yn perthyn i Dduw. "Eiddo yr Arglwydd y ddaear, a'i chyflawnder; y byd, ac a breswylia ynddo." "Seiliaist y ddaear a hi a saif." "Adwaen," meddai Duw, "holl adar y mynyddoedd; a gwyllt anifeiliaid y maes ydynt eiddof fi." Y mae y Beibl yn ymdeithio yn dywysogaidd i derfynau agos i ddau cant a haner o ieithoedd—mwy nag un llyfr arall yn y byd, gan sicrhau perthynas Duw a phob peth fel Creawdwr a chynalydd. Galwa y gofyniad cyntaf sylw Job at,

I. Ffurfiad y ddaear a'i threfn.

"Pa le yr oeddit ti pan y sylfaenais i y ddaear? Mynega, os medri ddeall. Pwy a osododd ei mesurau hi, os gwyddost? neu pwy a estynodd linyn arni hi?" Siarada yr Arglwydd a Job mewn iaith farddonol, ac nid mewn iaith wyddonol ein dydd ni—yr iaith y gallasai y bardd a'r dwyreiniwr Job ei deall. Yn wir y mae gwyddonwyr yn methu hyd heddyw gael damcaniaeth wrth eu bodd am greadigaeth y ddaear. Cyfaddefwyd yn y *British Association* diweddaf, fod yn rhaid ail ffurfio daeareg, gan eu bod yn gorfod ymwrthod a'r syniad o sefyllfa hylifol canolbarth y ddaear. Nid yw esbonwyr Beiblaidd am gymeryd mantais annheg ar y daearegwyr, ond gwelant mor briodol ydyw i wyddonwyr fod yn ochelgar i beidio goganu yr Hen Lyfr. "Ar ba beth y sicrhawyd ei sylfaen hi? neu pwy a osododd ei chonglfaen hi?" meddai Duw wrth Job, a gofyna yr un peth eto i wyddonwyr ein dydd. Adeilad ardderchog yw y ddaear, a gellir edrych ar ei chreigiau cedyrn fel ei "chonglfaen." Disgyna y rhai hyn lawer o filldiroedd islaw yr arwynebedd, o wyth i

ddeg milldir, neu ragor lawer yn ol cyfrifiad rhai. Conglfaen ardderchog i'r ddaear yw y wenithfaen, yr hon a wneir i fyny o wyth o'r triugain math o ddefnyddiau sydd yn nghrystyn y ddaear. Codwyd y creigiau hyn i fyny gan ffrydlif o drydan, nes ffurfio bryniau a mynyddoedd, y rhai a falurient gan ddylanwadau amrywiol, nes disgyn i'r gwaelodion i ffurfio mathau eraill o greigiau a meini. Trwy yr oll caed sylfeini a chongl-feini ardderchog i'r ddaear. "Pa le yr oeddit ti," Job, pan y gwnaed hyn?

Wedi hir ymweithiadau cryfion ynddi ac arni, daeth yn drigfa gymwys i ddyn. Wrth weled hyn, ac yn y rhagolwg ar y pethau mawrion a wneid arni, "cydganodd ser y boreu," a "gorfoleddodd meibion Duw." Yr oedd meibion hynaf Duw yn gorfoleddu; grwgnach yr oedd Job; ac achwyn y mae llawer eto am drefn y greadigaeth. Ond wrth ei chwilio yn fanwl a duwiolfrydig, ceir ei bod wedi ei mesur gan ryw un yn ofalus, fel muriau ac ystafelloedd palas hardd. "Pwy a estynodd linyn arni hi?" Y mae hi wedi ei mesur yn ei hyd a'i lled. "A ystyriaist ti led y ddaear? mynega, os adwaenost ti hi i gyd." Trwy ei bod yn hir-gul nis gellir gweled ond ychydig ranau o honi "hi i gyd." Y mae yn gweddu i ninau fod mewn syndod fel Job wrth feddwl am ffurfiad rhyfedd, a threfn fedrus y ddaear.

II. Am y Môr a'i Lywodraeth. "A phwy a gauodd y môr â dorau?"

Y mae y môr fel baban wedi ei roddi yn nghryd y dyfnder mawr. Gofalodd Duw am dano, "Gosodais y cwmwl yn wisg iddo, a niwl tew yn rhwymyn iddo." Gan ei fod yn faban mor gryf a pharod i derfysgu,

rhoddodd Duw, rhag iddo neidio o'i gryd, ddorau a throsolion o dywod a chreigiau i'w gadw yn ei le, gan ei orchymyn mewn deddf, "Hyd yma y deui, ac nid yn mhellach." Ceisia Duw gan Job feddwl am y môr, a cheisia genym ninau ar ei ol. Beth wyt ti yn feddwl am dano, Job? A fuaset ti yn hoffi cael rheoli y môr mawr llydan yna am ddeuddeg mis? Os na elli wneyd dim o hono, paid bod yn rhy feirniadol ar waith ei Greawdwr a'i Lywydd. Y mae y môr nid yn unig yn eang, ond yn ddwfn iawn. "A ddaethost ti i eigion y môr? ac a rodiaist ti yn nghilfachau y dyfnder?" A fuost ti lawr, Job, yn y gwaelodion? Y mae yma ddyfnder mawr. Y mae y môr yn ddyfnach nag ydyw y mynyddoedd o uchel. Methasant gael gwaelod yn y *North Atlantic*, yn 1849, er gollwng i lawr *line* o 34,000 o droedfeddi—rhyw beth fel chwe' milldir a haner o hyd. Y dyfnder a gaed yn y *South Atlantic* yn 1853, oedd wyth milldir a thri chwarter. Gwyr Duw am "eigion y môr"—y ffynonau sydd yn ei waelod; ac y mae "cilfachau y dyfnder"—y glynoedd a'r tewlwyni sydd yn y gwaelod yn hysbys oll iddo ef. Ceir yno lwyni am ganoedd o filldiroedd, a myrddiynau o bysg yn byw ynddynt; ac y mae yno ffynonau o'r rhai y llifa dwfr croew yn barhaus, o ddyfnderau nad oes neb ond Duw yn gwybod am danynt. Felly y mae y rhai sydd yn nghulfor Persia, ac i'r de-ddwyrain o Cuba. Beth ydym ni i feirniadu y Duw mawr sydd yn gweled dyfnderau yr eigion? Dysgwn fel Job i fod yn wylaidd ger ei fron ef.

III. AM DDYFODIAD DYDD A NOS.

"A orchymynaist ti y boreu er dy ddyddiau? a ddangosaist ti i'r wawrddydd ei lle?"—A ddarfu i ti,

Job, un diwrnod o dy oes orchymyn i'r boreu ddilyn y nos? A fedri di reoli y wawr fel y byddo i'r goleuni lifo yn rheolaidd o'r dwyrain i'r gorllewin am un haner blwyddyn? Gwna Duw ofalu am drogylch dyddiol y ddaear ar ei hechel, a'i throgylch blynyddol o amgylch yr haul. Gymaint peth yw dychweliad cyson y dydd ar ol y nos trwy doriad y wawr, a hyny heb fethu byth! Nid oes yr un dyn, na myrddiynau o ddynion, a fedrant atal y wawr, neu brysuro y wawr haner eiliad. Paham y rhyfyga dyn feirniadu gwaith yr Hollalluog sydd yn llywodraethu dydd a nos! Er ein bod yn cael goleuni mor gyson, mor esmwyth a rhad, nid oes neb ond Duw yn ei ddeall yn iawn. "Pa ffordd yr eir lle y trig goleuni? a pha le y mae lle y tywyllwch?" Dysga Duw yn Genesis fod goleuni o flaen haul a lleuad. Gelwir ef yn awr yn rym pelydrol (*radiant force*). Y mae cychwyniad y goleuni, llwybr y goleuni, ac ymdaeniad y goleuni, heb eu deall yn hollol eto gan ddyn. Teithia, yn ol y cyfrif cyffredin, oddeutu tair miliwn ar ddeg o filldiroedd bob mynyd, fel y cymer oddeutu wyth mynyd i gyraedd o'i ganolbwynt i'n daear ni. Y mae y goleuni yn cynwys saith o wahanol belydrau, a rhenir y rhai hyn yn ddau ddosbarth—y goleuni llwydaidd, a'r goleuni dysglaer. Pe y byddai i gyd yn llwydaidd, byddai niwl ar bob peth, ac nis gallem ganfod yn glir; a phe y byddai i gyd yn ddysglaer, byddai yn rhy gryf a thanbeidiol i'n llygaid. Rhyfedd mor fanwl a chymwys y mae Duw wedi ei drefnu! Wrth fyfyrio ar ddydd a nos, a goleuni a thywyllwch, dysgir i ninau, fel Job, fod yn wylaidd ger bron yr Arglwydd, sydd yn eu rheoli mor fedrus.

IV. Am yr eira, y cenllysg, y gwlaw, yr ia, y llwydrew, y mellt, a'r taranau. "A aethost ti i drysorau yr eira?"

Peth rhyfedd eto yw yr eira. Gwneir ef trwy rewi y tarth gwlyb yn yr awyrgylch yn dafellau, neu blu grisialog. Cawsom ryw gyflawnder mawr o hono, a thrysorau dihysbydd, fel y caed prawf o'r Northwest y llynedd, nes atal ein rheilffyrdd, a chau heolydd ein dinasoedd, a murio yn erbyn ein drysau. Dyna "y cenllysg" hefyd. "A welaist ti drysorau y cenllysg?" Tarth ydyw y rhai hyn eto wedi rhewi yn ronynau crynion. Y mae gan Dduw gyflawnder o'r cenllysg, a dywed am yr eira a hwythau, "Y rhai a gedwais i hyd amser cyfyngder, hyd ddydd ymladd a rhyfel." Meddylier eto am "y gwlaw." "A oes dad i'r gwlaw?" Cyfyd hwn yn darth o lynoedd, afonydd, a dyfroedd y ddaear, gan ymffurfio yn gymylau yn y wybren. Pwy sydd yn gwneyd hyn? Nid oes "dad" i'r gwlaw ond Duw. Anfona ef y gwlaw yn gawodau ar ein daear i "ddigoni y tir," ac i "beri i gnwd o laswellt dyfu." Cadwa Duw ef rhag disgyn yn rhaiadrau ar ein daear. Disgyna ar faesydd diwylliedig dyn, ac ar yr anialwch i gael cofio am y bwystfilod. Perthyn yn agos iddo y mae "y gwlith." "Pwy a genedlodd ddefnynau y gwlith?" Tarth yw hwn sydd o amgylch y ddaear, pan y mae hi yn oerach na'r haen nesaf ati o awyr. Gwna ar adegau, yn enwedig mewn rhai gwledydd, gymaint o wasanaeth i'r ddaear a'r gwlaw. O! fyrdd o berlau tlysion, ac oll yn llawn bendithion, ar foreu tyner a thawel yn yr haf; daethant yn hollol ddidwrw, heb derfysgu ar gwsg y baban, na chân yr aderyn lleiaf. Ni ddylem drachefn an-

nghofio "yr ia." O ba le "y daeth yr ia allan?" Dyma ddwfr wedi colli ei wres cynhenid, a thrwy rewi wedi caledu fel ceryg. Gofynir eto i Job, "Pwy a genedlodd lwydrew y nefoedd?" Dyma y gwlith wedi rhewi cyn ffurfio yn ddefnynau. Gwelwch ef fel paent ar bob peth ambell i foreu. Rhaid tynu ei sylw eto at "y mellt." "A ddanfoni di fellt allan?" Trydan yw y rhai hyn yn yr awyr, yn ymweithio yn wyllt, ac yn ffrwydro yn arswydus, a'r taranau yw swn y ffrwydriadau brawychus hyny. Pwy sydd yn anfon y mellt allan, Job? nes y dywedant hwythau, "Wele ni." A phwy sydd wedi rhanu "ffordd i fellt y taranau?" Duw yn unig sydd yn gallu gwneyd hyn er gwyllted ydynt. Meddylier am y pethau hyn yn ystyriol, ac nis gellir ymgodi yn rhyfygus i feirniadu gwaith Rheolwr anian.

V. AM Y PLANEDAU, A'R GOLEUADAU NEFOL SYDD YN CYHOEDDI Y GWAHANOL DYMORAU. "A rwymi di hyfrydwch Pleiades? neu a ddatodi di rwymau Orion?"

Pleiades yw y clwstwr ser sydd yn arwydd y Tarw, ac a ymddangosant tua chanol Ebrill, ac a ddefnyddir fel cyhoeddwyr dyfodiad y gwanwyn. Yr enw a roddai y Groegiaid arnynt oedd "hwyl," am eu bod yn cyhoeddi yr adeg y gellid ail-gychwyn mordwyaeth. "Hyfrydwch" mewn gwirionedd yw dyfodiad y gwanwyn ar ol y gauaf du a chaled—yr egin yn tarddu, yr adar yn canu, a dyn yn sirioli, ac yn ymiachâu o drymder y gauaf. A gelwir "Orion" ar y cydser a gyhoeddant deyrnasiad y gauaf? A fedri di, Job, ddatod rhwymau y gauaf? a fedri di atal y rhewynt, yr eira, a'r ia; neu a fedri di ddatod

eu gafaelion tynion? Na fedri, Job, na ninau ychwaith, neu buasem wedi gwneyd lawer gwaith y gauaf caled a gawsom y llynedd. Ond fe fedr Duw. Fe fedrodd y llynedd, a medr bob blwyddyn. Gofynir eto i Job, "A ddygi di allan Mazzaroth yn eu hamser?" cylch y deuddeg arwydd (*zodiac*), y ser sydd yn llwybr yr haul a'r lleuad yn ngwahanol fisoedd y flwyddyn. Dywed eto, Job, "A dywysi di Arcturus a'i feibion?" y cydser a elwir yr Arth Fawr, y rhai sydd yn weledig trwy y flwyddyn, gan droi o amgylch y canolbwynt a elwir y Pegwn Gogleddol. Wrth feddwl am y ser a'r planedau, onid yw yn gweddu i ddyn fod yn ostyngedig ger bron yr Hollalluog, sydd yn eu galw hwynt oll wrth eu henwau, ac yn eu rhifo gyda manylder, a'u rheoli oll gyda nerth a medrusrwydd.

VI. AM WAHANOL FATHAU A RHYWOGAETHAU O GREADURIAID DUW.

Gelwir sylw Job at dri ar-ddeg o honynt. Beth am "y llew?" "A elli di hela ysglyfaeth i'r llew? neu a elli lenwi gwanc cenawon y llewod?" Y llew yw brenin y bwystfilod. Rhyw fwytawr rhyfedd yw hwn. Rhaid i bob llew gael pymtheg pwys o gig bob dydd, a gwell ganddo gig o'i laddiad ei hun na'r eiddo neb arall, a chael hwnw yn ddigon ffres; gwell ganddo ddyoddef eisiau na bwyta peth braenllyd. Os yw un llew yn gofyn cymaint, pwy a fedr ddarparu digon o ysglyfaeth i lewod y byd? Gwna Duw hyn, Job. Nid yw "y gigfran" ond aderyn aflan a digân, "Pwy a ddarpara i'r gigfran ei bwyd?" Gwna Duw hyn. Beth am " geifr gwylltion?" creaduriaid deugorn na wyddant ddim am benysgafndod; dringant y bryn-

iau a'r creigau uchaf. Gofala Duw am danynt hwy a'u llydnod. O dan ofal Duw y mae "yr ewigod"—*antelopes* yr Arabiaid, creaduriaid hardd, cyflym, a llygaid nodedig o dlws, ond ofnus iawn. Gwylia Duw eu cyfnewidiadau mwyaf disymwth. Gofynir eto, "Pwy a ollyngodd yr asyn gwyllt yn rhydd?" Dyma greadur annibynol, a disylw o waith dyn. Yr anialwch yw ei dy, a'r diffaethwch yw ei drigfa. Nid yw yn gofalu dim am ddarpariadau tref, na llywodraeth ein dinasoedd. "Efe a chwardd am ben lluaws tref; ni wrendy ar lais y geilwad." Y mae gan Dduw ffrwyn ar war hwn. Beth am "yr unicorn," Job? "A gytuna yr unicorn i'th wasanaethu di? a erys efe wrth dy bresebau di?" Dyma greadur anystywallt iawn, cryf, a milain, yn nghoedwigoedd y Caucasus. Digon tebyg mai yr unicorniaid oedd "gwrdd-deirw Basan" gynt. Pa ddyn a ymddiried ynddynt er eu holl gryfder, fel'y gwneir â'r meirch a'r ychain? Llywodraetha a phortha Duw y rhai hyn, Job. Nid yw yn anghofio "yr estrys" hefyd. Dyma aderyn hirgoes a chyflym, ond dwl iawn; nid yw yn adnabod ei nyth ei hun, gesyd ei hwyau yn y ddaear yn rhywle, heb gofio y gall troed eu dryllio, ac anifail y maes eu sathru, ac y mae yn galed wrth ei chywion; er hyny i gyd cofio Duw am yr aderyn hwn. Dyna "y peunod," "A roddaist ti adenydd hyfryd i'r peunod?" Y mae gan yr adar yn gyffredin adenydd, ond y peunod sydd yn rhagori am "adenydd hyfryd." Cywir y darluniodd Emrys y paen—

> "Ymloewai'r paen aml-liwiog,
> Ysgydwai'i aden mewn rhwysg godidog."

Nac anghofier, beth bynag, "y march." "A rodd-

aist ti gryfder i farch? neu a ddysgaist iddo weryru?" Rhoddir y darluniad ardderchocaf o hono ar faes y gwaed. "Efe a ä allan i gyfarfod arfau. Efe a ddiystyra arswyd, ac ni ddychryna efe; ac ni ddychwel yn ei ol rhag y cleddyf. Y cawell saethau a drystia yn ei erbyn, y ddysglaer waewffon a'r darian. Efe a lwnc y ddaear gan greulondeb a chynddaredd; ac ni chred mai llais yr udgorn yw; efe a ddywed yn mhlith yr udgyrn, Ha, ha; ac a arogla o bell ryfel, twrf tywysogion a'r bloeddio." Duw yw Creawdwr y creadur cryf, beiddgar, a dewr hwn. Er mor rhyfedd hwn, nac anghofier "y gwalch" ychwaith. "Ai trwy dy ddoethineb di yr eheda y gwalch, ac y lleda efe ei adenydd tu a'r dehau?" Y mae gan y creadur hwn lygaid craff, a rhyfedd mor gyflym yr eheda at ei ysglyfaeth. Rhaid i'r "eryr" eto gael ein sylw. Dyma frenin yr adar ysglyfaethus. "Ai wrth dy orchymyn di yr ymgyfyd yr eryr, ac y gwna efe ei nyth yn uchel? y trig efe, ac yr erys efe mewn craig; ac ar ysgythredd y graig a'r lle cadarn? Oddiyno y chwilia am fwyd; ei lygaid a ganfyddant o bell. ei gywion hefyd a sugnant waed; a lle y byddo celanedd, yno y bydd efe." Beth am y "behemoth," Job? "Yn awr, wele y behemoth, yr hwn a wnaethum gyda thi." Gall y darluniad fod yn gymwys am yr elephant, neu yr afon-farch. Ond cyn terfynu gyda y creaduriaid rhyfedd hyn a grewyd ac a lywodraethir oll gan Dduw, bydded i ni feddwl am "y lefiathan." "A dyni di y lefiathan allan â bach? neu a rwymi di ei dafod ef â rhaff? a osodi di fach yn ei drwyn ef? neu a dylli di asgwrn ei en ef â mynawyd?" Creadur rhyfedd ydyw hwn eto yn yr eigion. Dichon mai at yr hyn a

alwn ni "y morfil" y cyfeirir. Dyna yr holl greaduriaid hyn yn y moroedd, y maesydd, y mynyddoedd, a'r anialwch, yr awyr a'r creigiau, Duw sydd wedi rhoi bôd iddynt, ac y mae yn eu llywodraethu trwy reddf benodol. Paham yr ymgoda dyn i feirniadu ar waith y fath Lywydd!

VII. AM DDYN YN EI FYWYD A'I FARWOLAETH. "Pwy a osododd ddoethineb yn yr ymysgaroedd? neu pwy a roddodd ddeall i'r galon?"

Pwy a roddodd allu i ddyn feddwl, deall i amgyffred, doethineb i drefnu, a chalon i deimlo ac ymserchu? Yr oedd eisteddle y rhai hyn, yn ol yr hen ddull o siarad, yn yr ymysgaroedd a'r galon, ond siaradwn ni am danynt yn yr ymenydd yn gyffredin yn awr. Y mae doethineb a deall yn gwahaniaethu dyn oddiwrth yr anifeiliaid, ac yn ei wneyd yn arglwydd arnynt. Y mae dyn yn gallu ymgodi at yr angel, a chymdeithasu â Duw. Eheda ei feddwl i'r dyfodol, a threfna gogyfer a thragywyddoldeb. Os yw dyn yn fôd mor fawr, beth raid fod ei Greawdwr? Paham y rhyfyga dyn feirniadu ffyrdd a gweithredoedd y fath Fôd?

Gwel Duw ddechreu a diwedd gyrfa dyn; ïe, pob dyn. "A agorwyd pyrth marwolaeth i ti? neu a welaist ti byrth cysgod angeu?" A gefaist ti ddilyn ysbryd y dyn pan yr oedd yn ymadael a'r corph, ac yn myned trwy byrth marwolaeth? Ni wyddai Job ddim, ac ni wyr neb eto am diriogaeth y meirw. O! r llu sydd yn marw bob dydd! Gwel Duw hwy i gyd yn myned bob un ar ben ei hun trwy byrth cysgod angeu. Tawed y dyn a beirniadu yn falch ac ynfyd weinyddiadau y fath Dduw.

Yn awr y mae y catecism rhyfedd yma yn dangos

agosrwydd Duw at bob peth. Treiddia ei lygaid trwy ddyfnderau y môr, a gwel uchelderau y mynyddoedd; nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef mewn môr na thir, na glynoedd na choedwigoedd, na mynyddoedd na maesydd, "eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored yn ei lygaid ef." Efe sydd wedi ordeinio yr haul a'r lloer, a geilw efe y ser oll wrth eu henwau, a chan amlder ei rym a'i gadarn allu ef ni phalla yr un o honynt yn eu troadau cyflym. Diolch i'r Beibl am roddi ei le i Dduw yn mhob peth. Beth yw y bydysawd heb Dduw? Llong yn nghanol yr eigion heb gadben, ty heb dad ynddo, teyrnas heb frenin, gweriniaeth heb arlywydd. Aeth Job i lawr i'r llwch yn wylaidd, ac y mae yn gweddu i ninau fyned. "Y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun, ac yr ydwyf yn edifarhau mewn llwch a lludw."

---

## PREGETH IV.

### DYCHWELIAD YR IUDDEWON.

"Canys ni ewyllysiwn, frodyr, eich bod heb wybod y dirgelwch hwn (fel na byddoch ddoethion yn eich golwg eich hun), ddyfod dallineb o ran i Israel, hyd oni ddel cyflawnder y cenedloedd i mewn.

Ac felly holl Israel a fydd cadwedig; fel y mae yn ysgrifenedig, Y Gwaredwr a ddaw allan o Sion, ac a dry ymaith annuwioldeb oddiwrth Jacob."—RHUF. 11 : 25, 26.

Y mae dychweliad yr Iuddewon yn bwnc sydd yn ail ymgodi i sylw y dydd, ac ymchwilir llawer iddo gan dduwinyddion pob gwlad. Cymer rhai y mater i fyny yn yr ystyr fwyaf llythyrenol, ac oddiar safle wladol yn unig. Pan y mae yr Iuddewon yn cael eu

herlid yn Ewrop, yn ymweithio mwy i'w hen wlad eu hunain, ac yn ymfudo mwy i'r America nag erioed, y mae yn naturiol i'w tynged ddyfodol gael mwy o sylw. Rhyfedd y fath syniadau eithafol a goleddir yn eu cylch. Barna Dr. Baumgarten y bydd i bob enwogrwydd gwladol a chenedlaethol ddarfod, ond y bydd i'r genedl Iuddewig ymgodi i ogoniant mwy nag erioed—yr â yr Iuddewon yn ol i'w gwlad, ac y bydd Palestina yn uwch ei bri nag erioed, ac y bydd Jerusalem yn fwy gogoneddus nag y bu ddyddiau y ddaear, a'r deml yn 'syndod a rhyfeddod y byd. Ymddengys hyn i mi yn syniad cnawdol a daearol am deyrnas Duw, yn groes i dystiolaeth bendant Iesu Grist i'r wraig o Samaria—"O wraig, cred fi, y mae yr awr yn dyfod pryd nad addoloch y Tad, nac yn y mynydd hwn, nac yn Jerusalem."

O'r ochr arall barna rhai fod y genedl Iuddewig i fod o dan farn dragywyddol Duw. Barnai Luther un adeg o'i oes, (newidiodd ei farn cyn diwedd ei ddydd), fod mor annichonadwy dychwelyd yr Iuddewon, a dychwelyd y diafol ei hun; a dywedai yn gynhyrfus nad oedd ganddo ef un gobaith am eu dychweliad. Yn ol y gredo yma yr ymddygwyd atynt am gyfnod maith, ac yr ymddygir atynt eto mewn manau.

Ai tybed nad oes tir canol rhwng y ddwy farn eithafol hyn? Gadewch i ni geisio tynu allan y gwirioneddau sydd yn y testyn.

I. Mai cwymp am dymor, ac nid un bythol, oedd cwymp cenedl Israel. "Ddyfod dallineb o ran i Israel, hyd oni ddel cyflawnder y cenedloedd i mewn."

Y mae y gwirionedd yma wedi bod i lawr ac i fyny

trwy yr oesau yn yr eglwys Gristionogol. Barnai Ambrose yn y bedwaredd ganrif y byddai i Iesu Grist yn yr oesau diweddaf gymeryd ato y genedl Iuddewig, a gosod ei law ar ei llygaid, a difa ei dallineb. Dyna oedd syniad y rhan fwyaf yn y canrifoedd cyntaf. Ond amheuai Luther hyn, fel y nodwyd, am un tymor o'i oes, eto credodd yr eglwys Lutheraidd yn natganiad y Beibl yn hytrach nag yn esboniad Luther arno. Daw yr apostol i'n golwg fel prophwyd yn y testyn, gyda datguddiad o ddirgelwch mawr, a mynega yn y modd mwyaf pendant ac eglur mai o ran ac am dymor yr oedd y dallineb wedi dyfod i Israel. Ceir rhyw awgrym am hyn yn llyfr y prophwyd Hosea. Darlunir yno genedl Israel fel gwraig anffyddlon i Dduw, a thri o blant ganddi, y cyntaf "Jezreel"—dymchweliad y llywodraeth; ac enw yr ail oedd "Lo-ruhamah"—Duw yn atal ei drugaredd oddiwrth Israel; a'r trydydd "Lo-ammi"—Duw yn gwrthod Israel fel ei bobl (ymyl y ddalen, "Nid fy mhobl i"). Dyma olwg dywyll iawn ar ei thynged. Ond awgrymir y daw adeg y newidir yr enw pruddaidd yna i "Ammi"—Fy mhobl i ydych; a "Ruhamah"—Myfi a drugarhaf wrthi, neu, yr hon a drugarhawyd wrthi. Dyma wawr gobaith am ei dychweliad. Sonir am y deg llwyth mewn amryw benodau yn Hosea, a rhai manau yn llyfr Jeremiah, o dan yr enw Ephraim. Mor dadol y llefara yr Arglwydd am Ephraim! "Pa fodd y'th roddaf ymaith Ephraim, y'th roddaf i fyny Israel?" Defnyddia deimladau tad tyner wrth feddwl am dori ei fab o freintiau y teulu, i ddangos ei anmharodrwydd i wrthod ei bobl. "Trodd fy nghalon ynof, a'm hedifeirwch a gydgyneuwyd." Darlunir

Israel fel cenedl wedi marw, ac wedi ei chladdu mewn gwendid a gwarth, ond addawa Duw ei hail godi. "O law y bedd yr achubaf hwynt, oddiwrth angeu y gwaredaf hwynt." (Hos. 13: 14). Gwir fod yma gyfeiriad at waredigaeth y genedl o Babilon, ond edrycher ar y waredigaeth hono, a chymeryd yr olwg eangaf arni, rhyw ychydig o'r genedl, yn enwedig o'r deg llwyth a waredwyd y pryd hwnw. Rhaid fod yma gyfeiriad at fwriadau grasol Duw tuag at y genedl mewn ystyr ysbrydol, os nad mewn ystyr naturiol, mewn rhyw gyfnod ar ol hyny.

Pwy fedr ddarllen y darluniadau cryfion a gogoneddus sydd yn Jeremiah 31, na theimla fod rhyw ymlyniad rhyfedd rhwng Duw a'r genedl Israel? "Myfi sydd dad i Israel, ac Ephraim yw fy nghyntaf-anedig." Y mae yn wir fod yma gyfeiriad at Israel yn yr ystyr eangaf—holl blant Duw o bob cenedl—y wir Israel, eto cryn gam â hwynt a fyddai eu defnyddio heb ryw gyfeiriad penodol at Israel fel cenedl wladol. Y mae yma le cryf i ddysgwyl am ddyddiau gwell na'r cyfnod maith o ddallineb a ddaeth drosti. Ai tybed, wedi darllen y benod hon a'i chyffelyb, y gellir credu nad oes adeg well i wawrio ar hen genedl etholedig Duw? Yr wyf fi yn teimlo mwy o hyder i weddio am ddychweliad yr Iuddewon, ar ol darllen y prophwydoliaethau y cyfeiriwyd atynt.

Disgyna Paul at y pwnc mewn ffordd o ofyniad, "A wrthododd Duw ei bobl? Na atto Duw!" Ac efe a etyb yn gryf na wnaeth yn gyffredinol, a thros byth, gan gymeryd ei hun fel esiampl o un o'r genedl Iuddewig wedi ei achub. "Na atto Duw. Canys yr wyf finau hefyd yn Israeliad o had Abraham, o lwyth

Benjamin." Y mae yr ymadrodd, "Yr wyf finau hefyd," yn cyfeirio at y lluaws mawr o Iuddewon dychweledig oedd yn yr eglwys Gristionogol yn ei amser ef. Dengys drachefn trwy ei epistolau fod yr un gobaith am ddychweliad yr Iuddewon, ag ydoedd am ddychweliad y cenedloedd paganaidd ac anghredinіol, gan fod Crist wedi diddymu canolfur y gwahaniaeth rhwng Iuddewon a chenedloedd. "Canys efe yw ein tangnefedd ni, yr hwn a wnaeth y ddau yn un, ac a ddatododd ganolfur y gwahaniaeth rhyngom ni." Dengys yn eglur mai nid rhyw ddychymyg, neu dyb ddynol oedd y syniad yma, ond ei fod wedi ei "ddatguddio i'w sanctaidd apostolion a'i brophwydi trwy yr Ysbryd, y byddai y cenedloedd yn gyd-etifeddion, ac yn gyd-gorph, ac yn gyd-gyfranogion o'i addewid ef yn Nghrist Iesu trwy yr efengyl."

Y mae yr adnodau hyn a'u cyffelyb yn cadarnhau y gosodiad—mai cwymp am dymor, ac nid un bythol, oedd cwymp cenedl Israel.

II. Y BYDD DYCHWELIAD YR IUDDEWON YN GYFNOD PWYSIG A GOGONEDDUS YN HANES CRISTIONOGAETH.

"Ac felly holl Israel a fydd cadwedig." Dysga yr apostol mai un olew-wydden y sydd—un Israel briodol i'r Arglwydd—i'r genedl Iuddewig gael ei thori ymaith fel cangenau oddiwrth y pren, ond fod y boncyff a'r gwreiddyn yn aros, ac fod y cenedloedd wedi cael eu himpio yn erbyn naturiaeth mewn gwir olewwydden; a chan ddilyn y gadmariaeth yn mhellach, cyfeiria at aduniad y genedl—"Pa faint mwy y caiff y rhai hyn sydd wrth naturiaeth, eu himpio i mewn yn eu holewydden eu hun?"

Siarada y prophwydi am eu sefyllfa cyn eu dychweliad fel rhyw ail Aipht, ac ail anialwch; a'u dychweliad fel rhyw ail fynediad trwy y môr Coch, a thrwy yr Iorddonen. (Esaiah 11: 15; Zech. 10: 11). Y mae yr holl gyfeiriadau a wneir trwy y prophwydi yn dangos y bydd eu dychweliad yn rhyw amgylchiad mawr yn hanes crefydd yn y byd.

Tybia llawer mai yr Iuddewon a ddychwelir gyntaf, ac y bydd eu dychweliad hwy yn cynhyrfu y cenedloedd i ddychwelyd; ond fel arall yr wyf fi yn deall yr apostol—y mae yr Iuddewon i barhau mewn cyflwr o ddallineb ysbrydol "hyd oni ddel cyflawnder y cenedloedd i mewn." A phan y daw y lluaws cenedloedd i mewn, "Felly holl Israel a fydd cadwedig." Fe fydd y diwygiad cryf yn mysg y cenedloedd, nes y bydd "cyflawnder"—corph mawr y cenedloedd—yn dyfod i gofleidio Cristionogaeth bur, a throir gyda mwy o egni nag erioed at yr Iuddewon, a rhwygir y gorchudd oddiar eu llygaid hwynt fel y gwelant holl genedloedd y byd yn derbyn y Crist a wrthodasant hwy cyhyd, fel y bydd eu calon yn ymrwygo yn yr adgof am eu hymddygiad creulon at y gwir Fessiah. "A hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant, galarant hefyd am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig." Cânt olwg ar eu pechod erchyll a ffiaidd, ac ar yr un pryd ar y ffynon a agorwyd i bechod ac aflendid.

Darlunia Esaiah yn y modd mwyaf cyffrous (yn y 60 ben. a'r 66 ben.), ymroad y cenedloedd i ddychwelyd a chynorthwyo yr Iuddewon. Gwnant hyn fel offrwm o ddiolchgarwch i'r Arglwydd am eu tröedigaeth eu hunain. Dygant hen genedl gyfamodol Duw

yn ol o blith yr holl genedloedd, "yn offrwm i'r Arglwydd, ar feirch, ac ar gerbydau, ac ar elorau meirch, ac ar fulod, ac ar anifeiliaid buain, i'm mynydd sanctaidd Jerusalem, medd yr Arglwydd, megys y dwg meibion Israel offrwm mewn llestr glân i dy yr Arglwydd."

Dyma yr adeg y try y Gwaredwr ymaith "annuwioldeb oddiwrth Jacob"—annuwioldeb yr anghredu a'r gwrthod Crist trwy yr oesau. Bydd yr hen elyniaeth at Iesu o Nazareth yn cael ei losgi ymaith, a'r galon galed yn cael ei thoddi mewn gwir edifeirwch, a deuant hwythau dan gerdded ac wylo tua Seion.

Yn wir, y mae arwyddion amlwg fod llu mawr o'r cenedloedd, os nad y cyflawnder, yn dyfod i mewn. Y mae Ffrainc ac Itali yn darfod a'r Babaeth, ac y mae dyddiau Mahometaniaeth wedi eu rhifo, llenwir y neuaddau mwyaf yn Japan i glywed am grefydd *Yesu*, a thystia nid y cenadon yn unig, ond conswliaid Lloegr ac America, fod Cristionogaeth yn enill ffordd yn gyflym yn China. Ni fu erioed y fath olwg obeithiol ar y byd cenedlig. Beth yw y *scene* sydd i ganlyn hyn yn ol darluniad Paul fel un o brophwydi sanctaidd, y Testament Newydd? Dyma hi—"Holl Israel a fydd cadwedig."

III. Y DYG DYCHWELIAD YR IUDDEWON GANLYNIADAU GOGONEDDUS IDDYNT EU HUNAIN, AC I'R BYD.

Y mae Paul ei hun mewn syndod wrth feddwl am bwysigrwydd y cyfnewidiad yma, a gofyna, "Beth fydd eu derbyniad hwy, ond bywyd o feirw?" Dysga hyn nid yn unig y cânt eu dychwelyd, ond y bydd eu dychweliad o fendith annhraethol. Bydd eu dychweliad yn *adgyfodiad.* Cenedl farw, "lladdedigion

merch fy mhobl," dyffryn yr "esgyrn sychion," yn llawn bywyd. Bydd eu dychweliad nid yn unig yn fywyd newydd iddynt hwy, ond yn fywyd ysbrydol newydd yn eglwysi Cristionogol y byd—i sel yr eglwysi, i haelioni yr eglwysi, ac i brofiad yr eglwysi.

Pa fodd y gwneir hyn? A ddychwela yr Iuddewon i'w gwlad, ac a ddaw Iesu Grist i deyrnasu yn bersonol i Jerusalem? Gall na chymer y naill na'r llall le, a gall un gymeryd lle, heb i'r llall wneyd. Yr wyf fi yn tueddu yn gryf i gredu y gall y genedl ail feddianu ei gwlad. Y mae Luc 21 : 24 yn wastad yn peri i mi feddwl y gallant adfeddianu Jerusalem—"A Jerusalem a fydd wedi ei mathru gan y cenedloedd, *hyd oni* chyflawner *amser y cenedloedd.*" Dyma dystiolaeth Iesu Grist ei hun. Y mae wedi ei mathru gan y cenedloedd trwy yr oesau, ac y mae y Sultan a'i droed megys ar wddf y ddinas hyd heddyw. Ond y mae arwyddion cryfion fod yr Iuddewon yn ymyl ei hadfeddianu. Cyhoeddir hyny yr wythnosau hyn.

Os y bydd iddynt adfeddianu eu gwlad, a fydd i Iesu Grist ddyfod i fod yn frenin tymorol arnynt, yn gystal a brenin ysbrydol? Hyd y gwn i mai prif gaerfa y syniad o deyrnasiad personol Crist yw y bedwerydd-benod-ar-ddeg o Zechariah. Dywedir y bydd i Grist sefyll ar fynydd yr Olewydd, ac y bydd i'r mynydd hollti ar draws ei haner, tua'r dwyrain, a thua'r gorllewin, "a bydd dyffryn mawr iawn," nes y bydd y dwthwn hwnw ddyfroedd bywiol yn dyfod allan o Jerusalem, eu haner hwynt yn llifo i'r dwyrain, a'r haner arall tua'r gorllewin. Os yn llythyrenol y cymerir hyn am Grist a holltiad y mynydd, beth a wneir â'r "dyfroedd bywiol?" Ai yn llythyrenol y

mae i ni eu cymeryd hwynt, neu yn ffigyrol? Onid mwy naturiol cymeryd yr oll yn ffigyrol o ddylanwad yr eglwys Iuddewig ddychweledig ar y byd cenedlig? Dyfroedd bywiol yr iachawdwriaeth trwy Grist yn ymlifo dros y byd. Y gwahaniaeth cymdeithasol a chrefyddol wedi ei dynu ymaith, ac Israel Duw dros y byd o dan yr un Brenin, yn yfed o'r un dyfroedd bywiol, ac yn cadw yr un gwyliau ysbrydol.

Modd bynag, nid wyf fi yn gweled un sail i gredu y daw Iesu Grist i deyrnasu i Jerusalem fel brenin gwladol y genedl, na'r byd. Yr oll a allaf fi ganfod, ydyw y gall y genedl gael ei hail ffurfio eto, trwy gael ei gwlad yn ol, ac y bydd felly mewn mantais i fod yn fwy defnyddiol i'r eglwys Gristionogol dros y byd. Meddyliwn am genedl o amryw filiynau yn ymgartrefu yn Palestina, wedi ei hadgyfodi mewn sel, mewn gweithgarwch a ffyddlondeb dros Dduw a'r efengyl— Faint a fydd ei dylanwad ar yr Aipht, a hen ymerodraeth y Twrc, ar yr India, a China, a gwledydd eraill? Beth fydd hyn "ond bywyd o feirw?" Er i gyflawnder y cenedloedd ddyfod i mewn i'r eglwys Gristionogol, bydd gwaith mawr eu gwareiddio, eu dysgu, a'u dyrchafu. Pwy all fod yn fwy o gymorth i'r gwaith yma na dynion o dalent, dysg, ac egni yr Iuddewon? Y fath adgyfodiad i'r eglwys Gristionogol dros y byd ydd cael dynion o nodwedd Moses, Dafydd, ac Esaiah, Pedr, Iago, ac Ioan, a Phaul, i'w gwasanaethu. Pa brinder am arian fydd pan y daw y fath genedl gyfoethog a'u hoffrwm i'r Arglwydd. Dyna ddiaconiaid braf a wna y *Jews* medrus i gasglu a thrafod arian. Beth fydd cerddoriaeth yr eglwys pan y daw rhesi fel Dafydd i ganu ei chaniadau? Beth a fydd nerth y

pwlpud pan y daw llu fel Eliasa Phaul i gymeryd gofal o hono? Ie yn wir, "bywyd o feirw" a fydd hyn i grefydd dros y byd.

Os nad ä y genedl i'w gwlad ei hun, beth fydd dylanwad dychweliad yr Iuddewon ar yr eglwysi Cristionogol dros y byd? Y maent wedi eu chwalu dros y byd, a gwnant i bob gwlad deimlo oddiwrth eu hadgyfodiad ysbrydol. Beth pe b'ai y rhai sydd yn mynwentydd ein dinas yn dadebru rhyw foreu?—y fath gyffro a wnelai! Fel yna yn union y bydd adgyfodiad yr Iuddewon i holl Gristionogion y cylchoedd. Beth pe b'ai Iuddewon Pittsburgh, Chicago, New York, Llundain, a Pharis, yn cael eu dychwelyd at grefydd Crist—y fath gynhwrf a barai dros y byd, a'r fath nerth newydd i'r eglwys Gristionogol!

Fe ddaw hyn—y mae y blaenffrwyth eisoes wedi dyfod i mewn. Gynifer o Iuddewon dychweledig sydd yn barod yn yr eglwysi Cristionogol. Ceir hwynt yn llu mawr, yn athrawon dysgedig yn ein hathrofeydd a cholegau, yn bregethwyr ymroddgar yn ein pwlpudau, yn awduron ein llyfrau enwog, ac yn genadon selog dros y byd. Daw mwy eto. Y mae y cynauaf mawr i ddod. Deffroa hyn ddiolch a chân saint Duw dros y ddaear. Bydd swn haleliwia o fôr i fôr, a hosana i'n Duw ni dros gyfandiroedd ac ynysoedd y ddaear. Nyni a glywsom ambell i Gymro a Chymraes yn canmol Iesu a'i waed nes toddi ein calon, ond beth fydd clywed Iuddew ac Iuddewes mewn hwyl yn dyblu y gân, ac yn ail ddechreu wed'yn yr hen ddwy linell hyny?

"Pen Calfaria, pen Calfaria,
Nac aed hwnw byth o'n cof."

Nid rhyfedd i Paul fyned i syndod addolgar—"O ddyfnder golud, doethineb, a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!" Ac yn y diwedd ymdora i folianu Duw. Boed i ninau ymuno ag ef—"Iddo ef y byddo y gogoniant yn dragywydd. Amen."

---

## PREGETH V.

### Y BRENIN AML GORONOG.

"Ac ar ei ben yr oedd coronau lawer."—DAT. 19 : 12.

Cawn olwg ar Iesu Grist yn y testyn yn un o'i swyddau cyfryngol, fel Brenin. Efe yw y gwir Frenin. Nid oedd Dafydd a Solomon, a llu eraill a fuont yn y swydd, ond cysgodau gwan o hono ef. Gadewch i ni

I. EDRYCH AR GRIST YN EI SWYDD FRENHINOL.

1. *Fel Brenin.*—Yn y cymeriad o Frenin gorchfygol y daw i'n golwg gyntaf. "Efe a ysiga dy ben di." "A'th had a feddiana borth ei elynion." "Nid ymedy y deyrnwialen o Judah, na deddfwr oddi rhwng ei draed ef, hyd oni ddel Silo; ac ato ef y bydd cynulliad pobloedd." Ceir yr addewidion yma yn Genesis. Fel hyn codir y byd yn foreu i ddysgwyl am dano fel Brenin. Yn amser Dafydd, ac ar ol ei ddydd ef, daeth y swydd hon yn amlwg iawn. Y mae yr ail Psalm yn fath o *drama* gysegredig i osod allan Freniniaeth Crist. Weithiau nyni a gawn y Psalmydd yn gofyn mewn syndod, "Paham y terfysga y cenedloedd?" Gwrthryfel fawr a phwysig yw hon. "Ac y myfyria y bobloedd beth ofer?" Rhyw frad (*plot*) arswydus

yw hwn, yn erbyn anfeidrol allu a doethineb Duw. Dyma lle y mae "cyngor," *divan* rhyfel. Ymgyngora breninoedd a phenaethiaid y ddaear yn erbyn yr Arglwydd a'i Grist ef. Dyma y tro cyntaf i'r gair gael ei ddefnyddio yn yr Hen Destament. Y maent yn benderfynol o wrthryfela yn erbyn awdurdod y Brenin. Ond nid yw eu holl ddigter a chynddaredd yn effeithio dim ar yr hwn sydd ar yr orsedd uchel a chadarn uwchlaw pob ystryw. "Yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd." Gwna yr Arglwydd y datganiad mwyaf cryf am yr hwn a esyd yn Frenin. "Minau a osodais," myfi fy hun yn ddiau a osodais y Brenin hwn. Nid traws-honwr (*usurper*) yw Iesu Grist. Y mae wedi ei osod yn gadarn (*firmly placed*). Ac y mae yntau wedi cymeryd at holl waith y swydd. "Mynegaf y ddeddf," deddf ei deyrnas Gyfryngol, cyngor a phenderfyniad ei Dad mewn perthynas i'w lywodraeth. Teyrnasa nid yn unig yn ei berthynas fel Mab, ond fel etholedig ac eneiniog Duw mewn cyngor tragywyddol, nad oes nac angel na dyn all newid un iota ar y bwriad hwn. "Dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Fy Mab ydwyt ti; myfi heddyw a'th genedlais" Dyma y *warrant* i'r swydd, a'r *charter* i'r llywodraeth Gyfryngol. Nid ar ddamwain ac ewyllys dyn y mae hon yn sefyll. Dyma hawliau, dyma seiliau awdurdod, dyma ddeddf (*decree*) y Brenin Iesu. Mynegir y bydd ei lywodraeth fel Brenin nid yn unig yn gadarn, ond yn eang. "Gofyn i mi, a rhoddaf y cenedloedd yn etifeddiaeth i ti, a therfynau y ddaear i'th feddiant." Y mae y cenedloedd hyd derfynau y ddaear i ddyfod yn eiddo cadarn i Grist—"etifeddiaeth." A bydd ei lywod-

raeth Freninol gydag awdurdod. Dryllia allu Satan a malu ria grefyddau cyfeiliornus gyda gwialen ei wirionedd.

Yn y swydd yma o Frenin y dysgwyliai yr Iuddewon yn benaf am y Messiah. Ond collodd Iuddewon Palestina yr iawn olwg arno fel Brenin. Yr oedd gan Iuddewon yr Aipht, ac yn arbenig Alexandria, well syniad am ei freninaeth foesol.

Honai Iesu Grist, yn adeg iselaf ei ddarostyngiad, ei fod yn Frenin. Gofynai Pilat iddo, "Ai Brenin wyt ti?" Ac atebodd yntau yn bwyllog a digryn, "Er mwyn hyn y'm ganed, ac er mwyn hyn y daethum i'r byd." Ond dywed yn eglur, "Fy mreniniaeth i nid yw o'r byd hwn, "breniniaeth ar galonau, cydwybodau, a bucheddau ei ddeiliad ydyw ei freniniaeth ef; a hyny nid yn ol egwyddorion llygredig a chnawdol y ddaear, ond yn ol egwyddorion ysbrydol a sanctaidd y nef.

Y mae ganddo bob cymhwysder i fod yn Frenin, awdurdod, cadernid, doethineb, ffyddlondeb, a chariad. Gwir Frenin, nid ffug yw efe. Y mae yn Frenin uwchlaw pawb. Nid rhyw raglaw yn llywodraeth Duw, ond Brenin, a "phob awdurdod" ganddo. Y mae y bodau uchaf yn y nef yn cydnabod ei fod yn deilwng o holl anrhydedd Brenin. "Teilwng yw yr Oen, yr hwn a laddwyd, i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith."

2. *Fel Brenin Coronog.*—Y mae genym hanes am lawer o freninoedd heb eu coroni. Ni choronwyd Napoleon y Trydydd. Nid wyf wedi gweled fod Brenin presenol Itali wedi ei goroni. Pan yr wyf yn

ysgrifenu nid yw Ymerawdwr Rwssia wedi ei goroni. Y mae yn dygwydd weithiau na fydd y brenin ddim yn ddigon diogel, parchus, a phoblogaidd i gael ei goroni, er y goddefir iddo am dymor i deyrnasu. Ond y mae y Brenin Iesu wedi ei goroni. Y mae coron yn arwydd o anrhydedd freninol, o fuddugoliaeth orchestol, a llawenydd mawr. Dyma yr arwydd arbenig o hyny yn mysg y Groegiaid a'r Rhufeiniaid. Ond nid garlant gorchfygwr yw hon, ond coron brenin. Ac eto nid coron achyddol brenin, ond coron Brenin buddugoliaethus. Trwy fuddugoliaethau y mae Crist yn cael ei goronau, a'r rhai hyny yn fuddugoliaethau Brenin. Ni chafodd neb wisgo y coronau hyn o'i flaen, ac ni chaiff neb eu gwisgo ar ei ol.

3. *Fel Brenin Aml Goronog.*—"Coronau lawer." Yr oedd Ioan wedi gweled y ddraig fawr "a saith ben iddi, a deg corn; ac ar ei phenau saith goron;" ond y mae y Brenin hwn yn gorchfygu "y ddraig fawr, yr hen sarph, yr hon a elwir Diafol a Satan," a rhoddir ar ei ben ef, nid "saith goron," ond "coronau lawer." Caiff goronau daear a nefoedd, coronau pob gwlad a phob byd, coronau pob cenedl ac oes, coronau pob enwad a phob sant. Wrth edrych dros y rhai hyn i gyd, fe fydd ar ei ben "goronau lawer."

II. NYNI A GYMERWN DREM AR EI ARBENIGRWYDD NEILLDUOL FEL BRENIN AML GORONOG.

Dywed Ioan fod "ei lygaid fel fflam dân" yn ddysglaer a threiddiol, ac yr oedd wedi ei wisgo "â gwisg wedi ei throchi mewn gwaed." Aeth lluoedd allan i'w ganlyn yn ei ymdeithiau buddugoliaethus "ar feirch gwynion, wedi eu gwisgo â lliain main gwyn a glan." Yr oedd ar ei wisg, ac ar ei forddwyd "enw wedi ei

ysgrifenu, BRENIN BRENINOEDD, AC ARGLWYDD ARGLWYDDI." Deuai allan o'i enau ef "gleddyf llym i daro y cenedloedd âg ef." Ac fel yr oedd "Sancteiddrwydd i'r Arglwydd" yn ysgrifenedig ar feitr yr archoffeiriad, felly y mae gan y Brenin Iesu "enw yn ysgrifenedig, yr hwn ni wyddai neb ond efe ei hun." Yn yr ysgrif Syriaeg ceir, "Yr oedd ganddo enwau yn ysgrifenedig, ac enw yn ysgrifenedig," hyny yw, enw ar bob coron unigol, er cofio o ba le y daethant, ac "enw" ar y goron gymhlethedig, y goron fawr gyfryngol. Y mae y fath anrhydedd yn perthyn iddo fel Brenin fel na wyr neb ond "efe ei hun" am dano.

Wrth gymeryd trem ar ei urddas a'i fawrhydi fel Brenin aml goronog, gallwn nodi fel arbenigrwydd hynod.

1. *Fod yr anobeithol tywyllaf, a'r gobeithiol mwyaf am fod yn Frenin, yn cydgyfarfod ynddo.*—Pwy fuasai yn meddwl am dano yn Frenin pan yr eisteddai yn lluddedig wrth ffynon Jacob, neu pan y cysgai yn y llong? Y mae cnawd yn dyweyd na ddaw byth yn Frenin, ond y mae ffydd yn dweyd y daw. Y mae ei fawrhydi breninol yn fflachio trwy bob tywyllwch o wendid a gwarth a osodir arno. Gwelwch ef yn ngardd Gethsemane yn welw ei wedd, yn gryndedig ei olwg, bron methu anadlu gan bwysau gofidiau ei galon, yn gweddio mewn ing enaid, a'i chwys yn ffrydio fel dafnau gwaed; wedi ei wrthod gan ddynion, wedi ei adael gan ei Dad, yn ymaflyd mewn cwpan yr hon oedd o'i gwaelod i'w hymylon yn llawn digofaint, a'i ofnau a'i ocheneidiau dynol y fath fel y clywodd clustiau angel hwynt, a daeth am ryw enyd i'w nerthu, ond ciliodd hwnw ymaith gan ei adael yn llaw ei elynion.

Cusanwyd ef gan apostol bradwrus, ac arweiniwyd ef yn y nos i balas Annas yr archoffeiriad hynaf, yr hwn oedd fel sarph o gyfrwys; ac yna arweiniwyd ef i balas Caiaphas yr archoffeiriad ieuengaf, lle yr oedd aelodau y Sanhedrim yn eistedd fel ffugfarnwyr mewn gwawdlys, i brofi y Brenin Iesu. Torwyd ar draws pob rheol tegwch trwy i'r barnwr droi yn gyhuddwr. Llogwyd tystion yn ei erbyn, ac ni roed amser na lle i neb ddod o'i blaid, ac ni chafodd ddadleuwr o'i du. Unai y Phariseaid a'r Saduceaid, hen elynion llidiog i'w gilydd, i'w gondemnio yn frysiog, a diarbed. Pan yr awgrymodd i'r archoffeiriad am ei fawredd, a'r dull cyhoeddus y dysgodd y tyrfaoedd am hyn, ac y dywedodd wrtho, "Paham yr wyt ti yn gofyn i mi? gofyn i'r rhai a'm clywsant," tarawodd rhyw adyn gwasaidd ef â chefn ei law yn ei enau mwyn, a dacw yr archoffeiriad meitrog yn rhwygo ei ddillad mewn gwrthuni ato, ac yn prysuro i'w gondemnio cyn i neb o'i gyfeillion ddeffro, a chyraedd i'r llys. Beth a ddywed cnawd am dano y pryd hwn? "Ni ddaw hwn byth yn Frenin." Ond dywed ffydd, "Daw." Edrychwch arno eto yn garcharor yn ngofal gwylwyr, yn anhebyg i ddyfod yn Frenin. Dygir ef oddeutu chwech o'r gloch y boreu at Pilat, i balas Herod, i gael ei gondemnio yn swyddogol i farwolaeth fel teyrnfradwr. Dyma ef mewn palas breninol am unwaith ar y ddaear. Ni ddeuai yr Iuddewon i mewn rhag cael eu halogi, a dygwyd yr Iesu i balmant uchel o farmor neu geryg caboledig. Gwrandawai Pilat ar ei gyhuddwyr, ac yna trodd ato ef a gofynodd, "Ai ti yw Brenin yr Iuddewon?" Hanes Brenin yw hanes ei ddyoddefiadau. Anfonwyd ef at Herod, tetrarch y rhan-

barth y bu yn llafurio fwyaf ynddo, sef Galilea. Cafodd yno ei wawdio fel brenin, trwy roi cochl goch am dano. Dygwyd ef yn ol at Pilat. Cafodd ei rwymo wrth bost, a'i fflangellu gan hen *lictors* creulon Rhufain. Arweiniwyd ef o'r fflangellfa i ystafell yn y palas, a disgynai gwaed y gwir Frenin ar lawr y palas breninol. Rhoddodd un o'r milwyr ei goh goch am dano i wneyd gwawd o hono fel brenin. Rhedwyd i'r llwyn drain gerllaw, gan eu plethu a'u gosod fel coron brenin ar ei ben. Estynwyd corsen iddo i wneyd gwawd o deyrnwialen brenin. Dilynwch ef i fyny yr allt i ben Calfaria, a'r groes ar ei gefn, bron methu ymsymud, nes y daeth Simon o Cyrene, yn ngogledd Affrica, i'w gynorthwyo. Dacw ef wedi ei hoelio draed a dwylaw wrth y groes. "Ni ddaw hwn byth yn frenin," meddai cnawd. "Daw," meddai ffydd; hanes brenin sydd hyd yma eto; darllen yr ysgrifen sydd uwch ei ben ar y groes mewn tair o ieithoedd pwysicaf y byd, "*Hwn yw Brenin yr Iuddewon.*" Clywch ef yn dolefain, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Nid yw y nef fel pe yn clywed e gri, a gwawdia uffern hi. Dua yr awyr uwchben, a chryna y ddaear odditano. Gwaedda, "Gorphenwyd," nes y mae ffydd yn clapio ei dwylaw. Bu farw. Claddwyd ef. Ac wrth ei fedd gofynaf: Ai Brenin oedd efe? "Nage," meddai cnawd—"Os Brenin oedd efe—ystabl Bethlehem oedd y castell breninol lle y ganwyd ef, pysgotwyr oedd ei lyswyr ef, tylodion oedd ei ddeiliaid ef, y drain oedd ei goron ef, y groes oedd ei orsedd, a'r fynwent yw ei brif ddinas ef." "Aros," meddai ffydd, "ti gei weled mai Brenin ydyw. Fe dduodd yr haul yn yr oriau dysgleiriaf, fe

grynodd y ddaear, fe ddrylliodd y creigiau, fe rwygodd llen y deml, fe orchfygwyd byddinoedd y tywyllwch, ac fe ysigodd ben eu teyrn na wella yn dragywydd o'i glwyf; fe gipiodd y lleidr weddiodd arno o safn uffern, ac fe'i gosododd wrth bren y bywyd yn mharadwys Duw, cyn i Satan gael amser i gau ei amrantau. Ac aros eto gnawd, enyd fach, y mae y fynyd yma yn *demandio* holl ymerodraeth angeu oddiarno, ac allwedd pob cell a fedd. A dyma ef, ar foreu y trydydd dydd, yn dyfod fel brenin mawreddog yn fyw o'r bedd, ac allweddau uffern a marwolaeth wrth ei wregys; ac mewn ychydig ddyddiau wed'yn, dacw ef yn esgyn i'w gerbyd breninol, gan fyn'd heibio i blanedau, lleuadau, a heuliau, nes ymgyraedd gyda gosgorddlu o angylion hyd byrth y gogoniant, pan y gwaeddai yr angel dewisol, "O byrth, dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragywyddol, a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn." Eisteddodd ar ddeheulaw y Tad yn y goruwchleoedd, a daeth seraphiaid, cerubiaid, angylion, a seintiau, holl ymerodraeth fawr y gogoniant i'w goroniad, ac nid oes cyfrif eto o rif ei goronau. Dyma ffydd wedi cario y dydd, a'r mwyaf anobeithiol i olwg dynol wedi dyfod yn Frenin aml goronog.

2. *Y mae mawrhydi ac ardderchawgrwydd arbenig yn perthyn i'r Brenin aml goronog hwn.*—Cawn ynddo anfeidroldeb y Duwdod, a chydymdeimlad brawdol y dyn, yn unedig, er nad yn gymysgedig. Y mae yn ei fawrhydi ef ryw allu sydd yn eich darostwng mewn parch addolgar ger ei fron, gan doddi eich calon o gariad ato. Un o'r enwau a roddir arno yn ngolygfa aruchel cysylltiadau y testyn yw, "Gair Duw"—am-

lygydd y Duw anweledig, datguddiwr ei fwriadau a'i ewyllys, trysorydd ei gyfoeth a'i gyflawnder, a chyfranydd ei ras a'i drugaredd.

3. *Y mae ei frwydrau a'i fuddugoliaethau arbenig yn ei wneyd yn deilwng o fod yn Frenin aml goronog.* Y mae yn brwydro yn erbyn Satan a'i holl luoedd, yn erbyn pechod a'i holl ddrygau, yn erbyn cyfeiliornadau a'u holl dwyll. Saif yn erbyn y diafol, sydd yn pechu o'r dechreuad, hyd at y pechadur ieuengaf ddechreuodd ei fywyd rhyfelgar yn ei erbyn heddyw. Y mae meddwl am luoedd uffern, am gestyll cyfeiliornadau, am galonau llygredig, llawn chwantau dryg-ionus, yn ein harswydo ni; ond y mae efe yn benderfynol o'u gorchfygu bob un. Y mae wedi myned allan "yn gorchfygu, ac i orchfygu."

"Bwa cryf sydd ganddo Ef,
Yn ei freichiau;
Egwyddorion gras y nef,
Ydyw'r saethau,
Sydd yn lladd, ac yn bywhau
Y gelynion;
T'wysog bywyd yn ddiau,
Bia'r goron."

Y mae yn ymhyfrydu yn yr egwyddorion y mae yn bleidio—"Cerais gyfiawnder." Nid oes dim rhwystrau a'i digalona byth. Y mae yn enill buddugoliaethau bob dydd, ac y mae ei holl ddeiliaid yn dod i'w garu am byth, a'i holl elynion yn ei arswydo o waelod eu calon. Cryna lleng o gythreuliaid yn swn ei enw. Cenir clychau y nef ar ei holl fuddugoliaethau.

"Henffych i enw Iesu gwiw,"

yw mawl-gân y dyrfa waredwyd ganddo. Y mae yn codi "palasau ifori" ar bob llanerch a gymerodd oddiar

y gelyn. Mi a'i gwelaf yn myned heddyw yn ngorymdeithiau ei gariad a'i wirionedd, heibio i filoedd o eneidiau a achubodd trwy ei waed, a'r un gân a glywaf o bob genau,—

"Coronwch Ef yn ben."

Y mae yna dyrfa o newydd yn ei goroni bob dydd. Pa dafod all ddarlunio dydd coroniad Iesu gan y dyrfa fawr fydd yn myned adref gydag ef yn gyrff ac eneidiau gwaredigol, ar derfyn y farn dragwyddol? Ni chynygiaf am fynyd wneyd. Bydd yn ormod gorchwyl i seraphiaid a seintiau uchaf y nef.

Y mae yn dda genyf ddweyd, er cymaint ei fri, er amled ei goronau, na chwymp ei orsedd, ac na cholla yr un o'i goronau am dragwyddoldeb. Yr wyf yn cofio brenin yn Ffrainc, ac ymerawdwr ar ol hyny, ac yr wyf wedi cael byw i weled gweriniaeth yn y wlad hono wed'yn, ond ni welaf ddiwrnod byth y dymchwelir gorsedd Iesu, nac y colla yr un o *jewels* ei goron.

Pa fodd yr ydym ni yn teimlo at y Brenin aml goronog hwn? Pwy sydd yr un deimlad a'r hen Gristion hwnw a ddywedai o galon onest?

"Mae'r 'wyllys genyf finau'n awr,
'Roi 'r goron ar ei ben."

Y mae yr Affricaniaid, y Caffrariaid, yr Hottentotiaid, yr Indiaid, y Chineaid, a thrigolion pellaf y byd yn dod i'w goroni. A ddaw y Cymry?

# PREGETH VI.

## ADFYWIAD CREFYDDOL.

"Oni throi di a'n bywhau ni, fel y llawenycho dy bobl ynot ti?"—PSALM 85: 6.

Gweddi eglwys Dduw mewn adeg o farweidd-dra crefyddol yw y testyn. Adgofir daioni yr Arglwydd tuag at ei bobl yn y dyddiau gynt: "Graslawn fuost, O, Arglwydd, i'th dir;" ac erfynir arno drugarhau wrthynt eto. Erfynir arno droi atynt yn ei ras, ei ffafr, ei dynerwch, a'i gymeradwyaeth, "Oni throi di a'n bywhau ni?" A gweddïir am iddo eu troi hwythau ato yntau mewn edifeirwch, hiraeth, ac awyddfryd calon. Cydnabyddant eu llesgrwydd a'u hoerfelgarwch, "Oni throi di a'n bywhau ni?"—ein hadfywhau ni (*revive us*). Y mae yma y teimlad dwysaf, dyfnaf, a thaeraf—"*Oni* throi di?" Dyma weddi gymwys iawn i ni am *adfywiad crefyddol* yn y dyddiau hyn; a dyma y mater y caf arwain y meddwl ato.

I. CAF WNEYD RHAI NODIADAU CYFFREDINOL AR ADFYWIAD CREFYDDOL.

Beth yw adfywiad crefyddol? Adeg o ddadebriad yn y bywyd ysbrydol. Ar ol tymor o ddifrawder, cysgadrwydd, a musgrellni gyda chrefydd, bywyd Duw yn ymlifo i'r enaid, nes cynyrchu bywiogrwydd a ffrwyth cyfatebol. Nid rhyw gynwrf trystiog arwynebol, ond gwir fywyd ysbrydol yn yr enaid, yn cael ei genedlu gan Ysbryd Duw, nes y bydd cynydd mewnol ac allanol, cynydd yn nuwiolfrydedd y galon, ac yn ngweithgarwch y bywyd. Deillia gwir adfywiad oddiwrth Dduw—gall, ac y mae dynion yn cael eu def-

nyddio yn aml fel offerynau, ond yn Nuw y mae eu nerth. Trwy ei ddylanwadau grasol ef y mae adegau mwy bywiog na'u gilydd ar grefydd. Nis gellir esbonio hyn yn llawn, ond yr ydym wedi ei deimlo a'i weled--yn union fel y gwelsom fwy o ffrwyth ar y coedydd, a mwy o gnydau ar y maesydd, rai adegau yn fwy na'u gilydd. Teimla pobl yr Arglwydd eu hunain yn cael eu tynu at Dduw, a gwelir pechadur-iaid yn dod "o dan gerdded ac wylo" tua Seion ar ryw dymorau yn fwy na thymorau eraill.

Y mae hyn yn eithaf naturiol—yn berffaith unol â natur, a chyson a deddfau Duw, a deddfau meddwl dyn. Nid yw y bywyd naturiol yr un fath bob amser: "Yn gyntaf, yr eginyn, ar ol hyny y dywysen, yna yr yd yn llawn yn y dywysen." Nid yw y tywydd a'r tymeredd yr un fath bob amser—weithiau gwlaw, bryd arall gwlith ireiddlon, yna daw eira a chenllysg; ceir y gwanwyn gwyrdd, yna yr haf; wedi hyny y cynhauaf llwythog, ac yna y gauaf chwerw a dryghin-og. Daw eilwaith y gwanwyn, tardda yr egin, cana yr adar, a thyf y gwahanol gynyrchion. Felly y mae y bywyd crefyddol yn amrywio. Dadleua rhai y dylai crefydd fod yn wastad yr un—dylai o ran egwyddor, ond nid o ran ffurf ei bywyd. Tra yr ydym mewn byd cymysglyd, a ninau yn gymysglyd gyda'r byd, rhaid i ni geisio dal yn ngwyneb y corwynt yn gystal a'r deheuwynt tyner, yr ystorm yn gystal a hinon ha'. Nid rhyw wastadedd mawr yw natur, ac nid felly yw crefydd. Os beia rhai ar yr amrywiaethau sydd gyda chrefydd, dylid cofio y gellid beio, ar yr un egwyddor, fod y mynyddoedd yn uwch na'r dyffrynoedd, a'r haf yn gynesach na'r gauaf, neu y gauaf yn oerach na'r haf.

Y mae rhyw "amser nodedig," gan nad beth a roddir yn rheswm am hyny, i adfywiadau crefyddol. Deuant yn berffaith gyson a deddfau natur, ac amgylchiadau bywyd y dyn. Ar ol pechu daw gofid, ar ol gwastraffu amser, talent, a manteision, daw galar. Ar ol cydnabod y bai, daw maddeuant; ar ol derbyn maddeuant, bydd mwy o ddiolch yn y weddi, mwy o afael wrth yr orsedd, mwy o fawl yn y gân, mwy o wres yn yr addoliad, a mwy o weithgarwch yn y bywyd. Ai nid yw yn naturiol ar ol i un gael mwy o gymdeithas â Duw yn bersonol, a phrofi mwy o'i ffafrau a'i heddwch, i ni deimlo mwy dros gyflwr eiu cyd-ddynion? Dyma arwyddion amlwg adfywiad crefyddol. Gall y bydd cryn gynwrf, a gall na bydd dim ond perffaith ddystawrwydd. Ond pe y byddai cynwrf, ni byddai hyny yn annaturiol. A oes rhywbeth mwy annaturiol i bechadur wedi cael ei achub gan Dduw lamu o lawenydd, nag i garcharor a arbedwyd rhag y crogbren i floeddio canu? Pa fam a wyliai ei merch gystuddiol am ddyddiau a nosweithiau, ac a edrychai yn bryderus ar bob symudiad, ryw noson y dywedai y meddyg y cymerai ei chlefyd ryw dro yr oriau hyny, os gwelai ei hoff blentyn wedi myned yn ddiogel trwy yr argyfwng pryderus, na wnai ganmol y meddyg, a galw ei chymydogion i gydlawenhau â hi, a myned dros y stori gyda hwy dro ar ol tro? A ydyw yn fwy annaturiol i fam dduwiol ddiolch i Dduw, ac adrodd yn llawen wrth ei chymydogion, am waith gras yn achub ei merch wamal, wyllt, ac annuwiol? Na, gall y tad duwiol ddweyd aml i "fendigedig," a "diolch," am gadw ei fab rhag suddo o dan donau pechodau yr oes, fel y gall y tad naturiol glapio dwylaw wrth weled ei

fab a fu ar foddi yn y pydew, neu yn y llifeiriant, yn cael ei godi yn fyw drachefn. Nid yw gweithgarwch anarferol gyda chrefydd yn ngwyneb peryglon moesol, ddim yn fwy annaturiol na gweithgarwch anarferol mewn dinas neu wlad yn ngwyneb ymweliadau clefydau a heintiau peryglus. Ie, y mae yn ddigon naturiol i ddysgwyl diffygion gyda chrefydd yn nglyn ag adfywiadau. Mewn byd anmherffaith yr ydym. Nid yw y saint eto yn berffaith. Nid yw y blodau ar y coed yn y gwanwyn i gyd yn troi yn ffrwythau addfed yn yr hydref. Cwympa llawer o honynt, ond addfeda miloedd. Yr oedd llawer o rai llwfr yn mysg y milwyr a ymrestrasant yn y wlad hon amser y rhyfel enbyd a fu yma, ond cafwyd digon o wroniaid cedyrn-galon i ddarostwng y gwrthryfel. Felly gydag adfywiad crefyddol, os ceir rhai twyllodrus, ceir llawer mwy o rai gwirioneddol. Er yr holl ddiffygion, y mae gwaith tragywyddol wedi ei wneyd mewn adfywiadau.

Hyderaf fy mod wedi llwyddo i symud y culni all fod mewn rhai mynwesau at adfywiad crefyddol. Nid penboethni ydyw, na chynwrf ffugiol, ond yr hyn sydd yn ateb i feddwl, teimlad, cyflwr, ac amgylchiadau dyn.

II. Pwysigrwydd adfywiad crefyddol.

1. *Y mae yn bwysig i'r eglwys yn nglyn a'r byd*—Heb fyned i un eithafion.—Y mae yn amlwg fod gwaith mawr i ymryddhau o afaelion y Babaeth, a chnawdolrwydd Mahometaniaeth a Mormoniaeth, tywyllwch Paganiaeth, a llygredd pechod! Ni wna y Babaeth roi i fyny ei honiadau heb ymladd yn galed. Ceir gweled fod "rhyfel egwyddorion," os nad "rhyfel waedlyd," o flaen y Protestaniaid eto. Gelyn ar-

swydus y rhaid ei orchfygu yw anffyddiaeth o bob ffurf. Nid heb lawer o ymdrech y ceir y byd i'w le yn ngwyneb y fath gyfeiliornadau a phechodau. O ba le y ceir milwyr dewrion a chymwys at y fath ymdrechfa? Nid wyf yn gwybod, os na cheir adfywiad cryf ar grefydd i drwytho y meddwl a'r teimlad yn ngwirioneddau gogoneddus yr efengyl.

2. *Yn nglyn a gwaith cyffredin yr eglwys.*—Y mae tô o hen athrawon cyson a didor yr Ysgol Sabbothol wedi marw, a hen weddiwyr a gynaliasant y cyrddau gweddi, a'r rhai profedig mewn crefydd a gadwasant y cyfeillachau crefyddol am flynyddau, wedi myned yn fusgrell gan henaint, neu wedi tewi yn yr angeu. Y mae llu o'r hen bregethwyr cynes, hwyliog a thanllyd, wedi eu galw at eu gwobr. Pa le y ceir rhai i lanw y bylchau? O ba le hefyd, os na cheir adfywiad grymus ar grefydd?

3. *Yn nglyn a chenadaethau yr eglwys.*—Y mae yn llawer rhwyddach cael rhai i ymgymeryd â gwaith cartrefol yr eglwys, nag i ymroddi i'w gwaith cenadol mewn lleoedd a gwledydd pellenig. Gwelwyd adeg yr oedd yn anhawdd iawn cael cenadon; ac fel y daw y galwadau yn drymach ac amlach, rhaid cael adfywiad mawr a chyffredinol er cyfarfod â'r galwadau, yn enwedig i gael dynion o ddysg, gallu, medr, a chalon eang a chynes i ymroi i'r maes cenadol.

III. ARWYDDION ADFYWIAD CREFYDDOL.

1. *Yn yr eglwys.*—Un o'r arwyddion blaenaf yw awydd cryf yn mysg ychydig neu lawer o'r aelodau am i Dduw ddyfod i'w hadfywio, ac i weithio yn achubol yn eu mysg. Y mae yr awydd wedi bod mewn rhai amgylchiadau yn cael ei deimlo gan un neu ddau,

a phryd arall gan nifer lluosog mewn eglwys. Gall y bydd yr awydd ar y cyntaf yn fychan, ond yn cynyddu yn gyflym ac yn angerddol, fel na bydd dim a foddlona y galon ond ei gael. Nid yw Duw yn creu yr hiraeth angerddol yma i gael ei siomi. Gellir bod yn dra sicr fod rhywbeth i ganlyn dysgwyliad hiraethlon am ymweliad adfywiadol. Gall ddechreu mewn un. Dechreuodd felly mewn eglwys Gynulleidfaol Seisonig yn Ohio. Dechreuodd yn y gweinidog, yr hwn oedd ar dori ei galon wrth weled dim llwydd, ac ar roi i fyny y weinidogaeth o'r herwydd. Dywedodd ei gwyn wrth y swyddogion. Ceisiai y rhai hyny ei galonogi. Trefnwyd i gwrdd yn ei *library* ef bob boreu i weddio ar y mater. Gwnaed felly am rai dyddiau heb i un wawr dori. Ond ryw foreu teimlai un o honynt wrth weddio rywbeth rhyfedd yn myned drosto, a methodd yn lân fyned yn mlaen, a thorodd i wylo; ceisiodd y nesaf ato gario yn mlaen y weddi, tagodd yntau; cynygiodd y trydydd, a methodd yntau; ac felly hyd yr olaf, ac yr oeddynt oll yn eu dagrau ger bron Duw. Cydiodd y tân yn yr eglwys a'r gynulleidfa, a gwnaed gwaith yn y gymydogaeth nad anghofir byth mo hono. Gwelais adroddiad am dair gwraig mewn un eglwys yn yr un clefyd meddyliol yn ddiarwybod i'w gilydd. Daeth y gweinidog i ddeall am danynt, ac anogodd hwynt i gydgwrdd. Cerddodd y nefol dân, a dychwelwyd rhyw luoedd. Y mae holl hanes yr eglwys yn profi nad yw ein Tad nefol yn gadael i awydd didwyll a chryf fel hyn byth gael ei siomi. Y mae diwalliad i fod i'r awydd, fel y mae ymborth i gyfarfod a'r cylla, goleuni i gyfarfod â'r llygad, a sain i gyfarfod â'r

glust. Dechreua adfywiad mewn awydd, ymgyfyd i ffydd, yna i sicrwydd, ac yn olaf i gyflawniad.

2. *Ar y byd.*—Efallai mai yn mysg plant i rieni digrefydd y gwelir yr arwyddion cyntaf,

> * * * "yr egin grawn
> I darddu'n beraidd iawn,
> O'r anial dir!"

Gwelwyd hyn laweroedd o weithiau. Plant o'r dosbarth yma yn cael eu parotoi yn ddiarwybod iddynt eu hunain i osod eglwysi ar dân. Bryd arall dychwelir un hynod mewn pechod—rhyw Saul o Tarsus yn dyfod i'r eglwys—enill y pen-campwr mewn cwmni drwg, nes llwfrhau, sobri, a dychwelyd yr holl gwmni. Gwelwyd hyn drachefn a thrachefn yn Nghymru, yn hanes pob enwad, ac agos bob eglwys. A dyna yw hanes Gough, Murphy, ac eraill yn y wlad hon. Hen esgeuluswyr yn ymdyru i foddion gras, hen gantorion yn dyfod at y canu, hen bechaduriaid rhyfygus yn newid eu hochr. Gellir penderfynu fod rhywbeth anarferol i gymeryd lle pan y gwelir yr arwyddion hyn.

IV. Y MODDION TEBYCAF I SICRHAU ADFYWIAD.

1. *Dyfod i deimlo yn ddwfn mai Duw yn unig a all achub.*—Efe yn unig a all ail-eni. Efe yn unig a all gyfnewid cyflwr ac anian dyn. Anghofio hyn sydd yn peri cymaint o ffug-ddychweliadau yn nglyn ag adfywiadau crefyddol. Ond credu hyn, gweddïir yn ffyddiog ar Dduw. Pwyso ar ei gyfarwyddyd a'i fendith ef yn hollol. Y mae yn ddyledswydd arnom ni wneyd ein goreu, ac arfer y moddion mwyaf doeth a phwrpasol; ond gallwn ni ddefnyddio y moddion a fuont yn llwyddianus mewn eglwysi, ac ar adegau eraill, a bod yn aflwyddianus, os na cheir bendith Duw

arnynt. Dylid arfer pob math o weddi gyda Duw—yn y dirgel, yn y teulu, yn yr eglwys a'r cynulliadau cyson. Pawb yn myned ar yr un neges at Dduw, ac yn teimlo nad all un dawn, nac un moddion lwyddo, heb i Dduw yn ei gariad a'i ras anfeidrol ddyfod allan i achub.

2. *Rhaid dwyn gwersi cyntaf yr efengyl o flaen y byd.*—Galw pob pechadur i edifeirwch, ac i gredu yn Iesu Grist. Y mae y rhai hyn yn hanfodol. Rhaid dangos fod eisiau newid y galon trwy edifeirwch. Gellir gofidio y galon, heb ei newid, fel y gellir tori careg yn ddegau o ddarnau, ond careg fydd wed'yn. "Edifeirwch oddiwrth weithredoedd meirwon" ydyw y wers gyntaf mewn crefydd. Nid oes na gadael, na diwygio oddiwrth bechod a wna y tro, heb newid ansawdd y meddwl ato trwy edifeirwch. Yna credu yn Mab Duw yn ffyddiog a didwyll am fywyd tragywyddol. Rhyfedd mor anwybodus yw y byd eto, ïe, hyd yn nod yn ngwlad efengyl, o'r gwersi syml, ond gwir bwysig hyn. Dyna y porth cyfyng—rhaid cyfeirio y byd ato. Dywedai yr hybarch Dafydd Stephenson, Nantyglo, un tro yn y gyfeillach, "Y mae gwyr cyrniog iawn yn dod i mewn yn awr i'r eglwysi, ac mi ddywedaf i chwi shwt y maent yn dod—dod trwy y *gate* fawr yn lle trwy 'y porth cyfyng.'"

Y mae perygl ein bod yn cymeryd yn ganiataol fod pobl yn gwybod mwy nag y maent am drefn y cadw. Y mae yn rhaid dyfod a phethau hanfodol crefydd yn agos at y deall a'r gydwybod. Dywedai Dr. Raffles, Liverpool, wrth roddi *charge* i weinidog ieuanc—"Preach, my young brother, the old, old story of Jesus and his love."

3. *Rhaid defnyddio pob moddion dichonadwy i dynu sylw y byd at grefydd.*--Y mae pawb sydd wedi sylwi yn fanwl i sefyllfa grefyddol pob ardal, wedi cael allan fod llawer nad ydynt byth yn myned i foddion gras, o'r hyn lleiaf, y mae llaweroedd nad ydynt yn myned ond yn anfynych iawn. Pa fodd y ceir gafael arnynt? Os na ddeuant hwy i'r cyrddau, rhaid myned a chyrddau atynt hwy. Gwelais hanes am ddwy chwaer grefyddol a benderfynasant roi ychydig amser bob wythnos i siarad a'u cymydogion esgeulus o foddion gras am fater eu henaid, a bu o fendith annhraethol iddynt hwy a'r eglwys. Bum yn meddwl lawer tro mewn seiat dda, fod yn drueni na chawsai y byd ran o honi—clywed sut y cyfarfyddodd trugaredd â rhai ar "y ffordd tuag uffern dân," a'r modd y cawsant faddeuant. Plant afradlon wedi dod yn ol i dy eu Tad, yn adrodd eu hanes eu hunain. Trueni gadael pethau fel hyn yn ddirgel. Bu ar fy meddwl lawer tro i gymell *seiat rydd* bryd hwn a phryd arall.

Dylid hefyd ymdrechu tynu allan fwy o'r nerth mewnol sydd mewn canu. Deallodd Howell Harries hyn ar ei gychwyniad cyntaf allan. Deallai fod gan ganu ddylanwad mawr ar ieuenctyd Cymru, a dilynodd y cyrddau canu i bregethu Crist iddynt. Dywed un awdwr, "Souls are sang into heaven, as well as prayed there." Cenir eneidiau i'r nef, yn gystal ag y gweddïir rhai yno. Y mae rhai emynau a thônau wedi eu geni a'u bedyddio yn amser Diwygiad. Pwy anghofia ddylanwad yr hen dôn "Eliseus," ar y geiriau hyny—

"Beth yw'r udgorn glywa'i 'n seinio?" &c.

Aeth saeth farwol i bechod i galon dau wrandawr wrth glywed y geiriau hyny yn cael eu canu—

"O, Iesu, Ceidwad f'enaid gwan,
Ti'm ceraist cyn fy mod," &c.

Nid anghofiaf byth y dylanwad a gafodd canu y geiriau hyny arnaf fi ac eraill yn Rehoboth, Brynmawr, yn 1849—

"Ymdeithio 'r 'ym wrth arch ein Tad,
I'r Ganaan nefol fry," &c.

Nid oes genym amgyffred am nerth yr adfywiad hwnw pan y bydd canu o dan ddylanwad Ysbryd Duw. Beth fyddai effeithiau canu y dôn "Henryd," o "Aberth Moliant," pe byddai tân Duw wedi cydio yn nghalon y cantorion? ar y geiriau anghydmarol hyny—

"Pan f'o Sinai 'n gwisgo 'i gwmwl,
Ac yn rhuo'i daran gref," &c.

Neu pwy all ddychymygu effeithiau canu mewn teimlad byw y dôn "Llansannan," o'r un llyfr? ar y geiriau bendigedig hyny—

"Pan oedd Sinai yn melltenu,
A'i tharanau 'n rhwygo'r nen," &c.

V. Gwnawn rai apeliadau difrifol mewn perthynas i'r mater hwn.

Yr wyf wedi ceisio dangos ochr Duw mewn modd amlwg a digamsyniad yn nglyn ag adfywiad. Goddefer i mi yn awr droi at yr ochr ddynol. A garem ni gael adfywiad? A ydym ni yn barod i wneyd yr aberth gofynol er ei gael? Pwy sydd am fyned at allor Duw i gyflwyno ei hun yn hollol i Dduw gyda y gwaith yma? Fel hyn y gwnaeth Whitefield a Wesley gynt, ac fel hyn y gwnaeth Finney, a llu er-

aill ar ol hyny. A ydym yn barod i garthu allan bob suredd meddwl a malais, a chenfigen, a chulni calon at bawb? A ydym yn barod i faddeu i bawb bob tramgwydd a gawsom, ac i godi dwylaw sanctaidd at Dduw heb na digter na dadl yn erbyn neb? A ydym yn barod i ymwrthod â phob rhith drygioni? Os felly, y mae genym sail dda i ddysgwyl am dano. Ac os nad ydym, ofnwyf, er y gall Duw ein cadw ni i fywyd tragywyddol, na ddefnyddia mo honom i ddeffro yr eglwysi, ac argyhoeddi y byd. Cawn ein gadael fel llestri gwrthodedig. Yr ydym yn cwyno er's dros ugain mlynedd, heb ryw adfywiad cryf a chyffredinol yn mysg ein cenedl. Yn mha le y mae y bai? Nid wrth ddrws Duw, yn wir. Os cawn ein gadael heb adfywiad am ugain mlynedd eto, beth a ddaw o'n cenedl?

A ydym ni fel gweision effro yn dysgwyl am eu Harglwydd? A ydyw y ty yn lân, yr aelwyd yn gynes, a'r drysau heb rwd arnynt? Mynych yr adroddai Mr. Lewis Pugh, Dolgellau, y geiriau hyny, "Agorwch y pyrth"—serchiadau a theimladau da yr eglwys, "fel y dêl y genedl gyfiawn i mewn." A ydym ni yn barod i wneyd y gwaith a noda Duw i ni? A ydym ni yn barod i gymeryd adfywiad yn y llwybr a'r dull y daw Duw ag ef i ni? A oes rhyw awydd ynom i wneyd rhyw drwst gwag am dano, neu a ydym am ei gael heb drwst na chynwrf? Gadewch i ni ei adael i Dduw ei roi y ffordd y myno. Clywais fy hen fodryb Betti Edwart, Church Hill, Ohio, un o hen frodorion Llanuwchllyn, yn adrodd iddi fyned pan yn ferch ieuanc i gwrdd gweddi yn yr Hen Gapel, ac i Dr. Lewis ddyweyd wrthynt ar y dechreu, "Da,

'mhobl i, treiwch fod mor ddystaw ag y galloch heno; meddienwch eich hunain, fy mhlant i, mewn tawelwch meddwl, a gadewch i ni geisio addoli Duw yn ddidrwst;" ac yna rhoddodd yr hen emyn hwnw i'w ganu—

> "Mae rhai a bechodd lai na mi
> 'Nawr mewn trueni'n gruddfan;
> Rhyfedd na buaswn yn eu plith,
> Heb obaith byth dod allan."

Gyda hyny dyna ochain a gwaeddi, a gweddio, a diolch. "Wel, modryb Betti," meddwn wrthi, "yr oeddych chwithau, mi w'ranta' i, yn gwaeddi gyda hwynt." Cyfodai yr hen wraig ei dau lygad oeddynt wedi pylu gan bedwar-ugain mlynedd o edrych drwyddynt, a dywedai, "Oeddwn, wir, yn diolch na fuaswn yn ngwlad y gruddfan. Onid oedd o yn lled ryfedd yn dyweyd wrthym am fod yn ddystaw, a rhoi rhyw hen benill tanllyd fel yna allan?"

Wel, a gawn ni gyd-weddio am adfywiad? "Oni throi di a'n bywhau ni?" O! deued, deued yn fuan. Byddai yn dda gan lawer o honom weled hyd yn nod blaen y gawod cyn ein marw. A phan y daw, nyni a gawn lawenydd na phrofasom erioed ei fath: "Fel y llawenycho dy bobl ynot ti."

---

## PREGETH VII.

### GWEDDIO MEWN ADFYD, A CHANU MEWN ESMWYTHDER.

"A oes neb yn eich plith mewn adfyd? gweddied. A oes neb yn esmwyth arno? caned Psalmau."—IAGO 5: 13.

Y mae *gweddio* a *chanu* wedi dyfod i gyffyrddiad agos iawn a'u gilydd yn y testyn. Wrth sylwi, nyni

a gawn eu bod yn rhanau pwysig o addoliad yr Arglwydd yn mhob oes o'r byd. Cawn hwynt mewn cysylltiad dyddorol a phwysig iawn yn hanes cenedl Israel. Gweddia Moses un ochr i'r Môr Coch, yn y cyfyngder mawr, pan yr oedd yr Aiphtiaid yn gyru ar eu holau; a chawn ef a meibion Israel, a'i chwaer Miriam, yr ochr draw, yn canu mewn hwyl ar ol cael eu gwaredu eu hunain, a'r Aiphtiaid gael eu boddi. Cawn Iesu Grist, wedi swpera gyda ei ddysgyblion, yn canu hymn, ac wedi hyny yr un noson yn ei gyfyngder yn gweddio yn ddyfalach ddyfalach yn ngardd Gethsemane. Cawn hefyd Paul a Silas ar ol eu fflangellu a'u rhoddi yn y corchar nesaf i mewn, "yn gweddio, ac yn canu mawl i Dduw," yn nhrymder y nos.

Addefir yn gyffredin fod gweddio yn addoliad i Dduw, ond nid edrychir bob amser ar ganu gyda'r un pwysigrwydd. Edrychir ar ganu fel gweithrediad gallu lleisiol, ac fel medr talent benodedig, a ffrwyth celfyddyd, ac y mae yr olwg yna mewn un ystyr yn gywir, a dylai pawb sydd wedi cael y ddawn i ganu, ei meithrin, a'i hiawn-ddefnyddio yn wasanaethgar i grefydd. Ond y mae gwir ganu yn rhywbeth uwch nag amlygiad o dalent a chelfyddyd—yn addoliad i'r Creawdwr mawr. Dylai y dalent uchaf, a'r gelfyddyd fanylaf, fod yn llawforwyn i addoliad crefyddol. Diau fod miloedd o blant yr Arglwydd wedi addoli Duw yn gynes iawn gyda llais lled aflafar, a thônau lled afreolaidd, ond y mae "Duw y duwiau" yn haeddu yn ei addoliad y lleisiau mwyaf peroriaethol, a'r tônau mwyaf coethedig. Y mae yn gywilydd i ni yn yr oes yma, yn nghanol cymaint o fanteision, i roi offrwm

cloff mawl aflafar i'r Arglwydd. Y mae canu da yn rhoi bywyd trwy holl ranau gwasanaeth cysegr Duw. Cafodd llawer un hwyl i bregethu, fel y cafodd Eliseus i broffwydo, o dan ddylanwad canu da—"A phan ganodd y cerddor, daeth llaw yr Arglwydd arno." 2 Bren. 3 : 15.

Dygir gwirionedd i'r amlwg yn y testyn, a anghofir yn fynych—fod gweddio a chanu yn ymarferiadau crefyddol cydbwys yn ein haddoliad, cyfaddas i wahanol agweddau y meddwl.

I. Y MAE GWEDDIO YN YMARFERIAD CREFYDDOL GWIR BRIODOL I'R ADFYDUS.

"A oes neb yn eich plith mewn adfyd?" Oes, yn ddiau. Byd adfydus yw ein byd ni. "Yn y byd gorthrymder a gewch," meddai Crist wrth ei ddysgyblion goreu. Nis gellir cymwyso y gofyniad yna at un gymdeithas braidd ar y ddaear heb i rywun ateb yn gadarnhaol. Y mae yr adfydau yn amrywio, fel y cwynion a ddygir at y meddygon. Ceir rhai mewn adfyd cystudd corphorol, eraill wedi colli eu perthynasau a'u cyfeillion trwy weinidogaeth angau, eraill mewn amgylchiadau gwasgedig yn y byd, amryw wedi cael siomedigaethau o wahanol natur, a rhai mewn pryder am eu cyflwr, ac eraill mewn adfyd yn herwydd sefyllfa crefydd yn y byd. Oes y mae llawer yn ein plith mewn adfyd o ryw fath bob dydd. Beth sydd i'w wneyd yn ngwyneb adfyd? Ymollynga rhai i rwgnach, ac i ddywedyd pethau caled yn erbyn Duw—felly y darfu Israel yn adfyd y caethiwed. "Cuddiwyd fy ffordd oddiwrth yr Arglwydd, a'm barn a aeth heibio i'm Duw"—y mae Duw wedi fy nghwbl anghofio. Ymollynga eraill i fwy o bechodau yn eu

hadfyd, gael "anghofio eu gofid," meddant hwy. A pheth rhyfygus o gyffredin i rai yn y blynyddoedd diweddaf yma ydyw cyflawni hunan-lofruddiaeth yn eu trallod. Dywedant yn ngeiriau Job, "Y mae fy enaid yn blino ar fy einioes." Ond y mae pob un o'r rhai hyn yn bechadurus arswydus, ac yn ychwanegu at yr adfyd, yn lle ei leihau a'i symud. Dyma gyfarwyddyd priodol y testyn i bob un mewn adfyd—"Gweddied"—aed at Dduw i ddweyd ei gwyn. Gwneyd pob adfyd yn destyn gweddi, ac yn gymelliad i weddi. Pa briodoldeb sydd mewn gweddio mewn adfyd?

1. *Y mae gweddio yn dyfod a ni at un a wna wir gydymdeimlo a ni yn mhob adfyd.*—Braint fawr ydyw cael cydymdeimlad mewn trallod. Y mae llaw cydymdeimlad yn dal ein pen uwchlaw tonau gofid, os na fedr ein tynu allan o honynt. Y mae cydymdeimlad dynol yn werthfawr, ond nid bob amser y cawn hwnw; ond cawn gydymdeimlad ein Gwaredwr bob amser, "Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni." Y mae ei galon ef yn llawn cydymdeimlad cynes a hyny ar ol cael profiad chwerw o adfydau gofidus y ddaear. Onid yw yn werth myned ato mewn gweddi?

2. *Y mae gweddio yn dyfod a ni at un fedr droi pob adfyd yn lles i ni.*—Y mae Duw yn goddef i adfydau ein dal er mwyn ein dwyn i weddio. Llythyr ydyw adfyd oddiwth Dduw, trwy *bost* rhagluniaeth, i ddweyd wrthym fod arno eisiau ein gweled yn dod ato yn amlach. Anfonodd un at Manasseh waedlyd, ac fe gafodd hyd iddo "mewn dyrysni," a daew ef yn tro. i weddio, "A phan oedd gyfyng arno ef, efe a weddiodd

yn lle gwneyd fel y gwneir yn gyffredin yn y dyddiau hyn? Dyma feddyginiaeth gyfleus a sicr i holl drallodau bywyd. Nid oes neb mor dylawd na fedr weddio; nid oes neb mor amddifad na fedr fyned at Dduw i ddweyd ei gwyn; nid oes neb wedi ei luchio gan lanw mawr adfyd rhwng cilfachau y creigiau, na all alw ar Dduw, ac efe a enfyn *life boat* ei addewid yn union i ddyfod ag ef i'r lan. Nid oes neb yn wlyb o dan gawodau trallod nad all anfon gweddi trwy enfys yr addewid, na atelir y dryghin, ac na ddaw yn hindda ar ei enaid yn union.

II. FOD CANU MAWL I'R ARGLWYDD YN YMARFERIAD CREFYDDOL GWIR BRIODOL I'R NEB SYDD YN "ESMWYTH ARNO."

Er gwaethed yw y byd, y mae rhai yn gwybod am esmwythder ynddo: "A oes neb yn esmwyth arno?" —yn llawen arno, yn hyfryd ei feddwl—" wrth ei fodd," yn ol ymyl y ddalen gan William Salesbury. A oes neb felly, tybed? Oes, yn ddiau. Nid byd llawn o wylofain yw ein byd ni, trwy drugaredd. Y mae yn gymysgedig o alar a llawenydd. Chwi a gewch ambell un yn ngauaf galar a phrudd-der, ond chwi a gewch y llall yn ngwanwyn sirioldeb a llawenydd. Ie, chwi a gewch yr un person yn gymysgedig o adfyd ac esmwythder calon. Chwi a welwch ddeigryn trallod yn disgyn dros y rudd un fynyd, a'r fynyd nesaf yr un mor ddiragrith a naturiol, chwi a welwch sirioldeb yn pelydru yn ei lygaid. Fel hyn y mae yr un gynulleidfa yn yr oedfa mewn adfyd ac mewn esmwythder, fel y mae yn briodol i'n haddoliad fod yn gymysgedig o weddio a chanu. Wel dyma gyfarwyddyd yr Apostol i'r rhai sydd mewn esmwythder a

llawenydd—"caned Psalmau"—un gair a ddefnyddia yr apostol Iago—"psalmed,"—molianed, neu caned. Pa briodoldeb sydd yn y cyfarwyddyd yna i'r rhai sydd mewn esmwythder?

1. *Y mae canu mewn diolchgarwch i Dduw am a fwynhawyd, yr un mor bwysig a gweddio i geisio gan Dduw mewn adfyd.* "A oes neb yn esmwyth arno"—wedi cael ateb i'w weddi a anfonodd at Dduw yn ei adfyd, amlyged ei ddiolchgarwch i Dduw yn awr trwy ganu Psalmau o fawl iddo. Peidied yr un sydd yn esmwyth arno a meddwl nad oes ganddo ddim i'w wneyd â Duw yn awr, pan nad oes dim neillduol yn ei flino, fel pe b'ai Duw yn rhyw gymwynaswr mawr mewn adeg o gyfyngder yn unig. Nid fel y gweddïwr hwnw y dylem ymwneyd â Duw, a ddywedai ger bron yr orsedd, "Gwrando fi, Arglwydd mawr, y tro yma, beth bynag, ni byddaf yn dy flino yn aml, ac os caf fy ngwrando yn hyn, ni cheisiaf ddim yn fuan eto genyt." Nid mewn adfyd yn unig y dylem gymdeithasu â Duw, a thywallt ein calonau ger ei fron; ond dylem fyned i ddiolch â chalon gynes at Dduw am ei ryfedd ofal am danom ddydd ar ol dydd, ac awr ar ol awr. Os gweddïir ar Dduw mewn adfyd, ac os cenir ei fawl mewn esmwythder, bydd y meddwl yn wastadol gyda'r Arglwydd. Y mae crefydd y Beibl yn llawn o ddiolch, yn gystal ag o erfyniadau. "Gwasanaethwch yr Arglwydd mewn llawenydd: deuwch o'i flaen ef â chân. Ewch i mewn i'w byrth ef â diolch, ac i'w gynteddau â mawl: diolchwch iddo, a bendithiwch ei enw." Y mae natur yn llawn diolchgarwch. Geilw y mynyddoedd ar y môr am ddwfr trwy y cymylau i'w dyfrhau, rhag i'r haul losgi a

chrasu eu cefnau, ac etyb y môr trwy anfon tarth tew i ffurfio cymylau llwythog, y rhai a ddisgynant yn gawodau trymion am oriau, a chlywir ffrwd a nant yn ymuno i ganu *chorus* o ddiolchgarwch i'r môr. "Moes, moes," meddai y ddaear wrth yr amaethwr yn y gauaf ac yn y gwanwyn, ac yna ar ddiwedd yr haf, dychwela ei diolchgarwch mewn cynhauaf llawn a thoreithiog. A gaiff dynion fod ar ol mewn diolch i Dduw? O, bydded i Dduw pob gras a daioni glywed mwy o'n diolch am ei ddoniau. "Mawl a'th erys di yn Seion."

2. *Y mae canu yn sancteiddio ein llawenydd, fel y mae gweddio yn sancteiddio ein hadfyd.*—Heb i ni weddio, try adfyd yn ddinystr i ni, ac heb ganu bydd esmwythder yn berygl a magl i ni. Y mae yr Apostol yn ofalus iawn i ddyweyd wrth yr hwn sydd yn esmwyth arno beth sydd iddo i'w wneyd—"caned psalmau"—nid caneuon llygredig a arweiniant ei feddwl i ysgafnder ac anghof o Dduw. Y fath drueni yw fod cymaint o dalent gerddorol yn ngwasanaeth y diafol a phechod! Priodol yr ocheneidia y coed, y pres, y llinynau a'r tànau yn yr offer cerdd, am eu bod yn cael eu defnyddio mor groes i fwriad eu Crewr; a'r llais dynol mwyaf swynol a pheroriaethus, fel y mae wedi cael ei halogi! Cymer y diafol fantais ar ddyn yn ei lawenydd yn gystal ag yn ei dristwch, i geisio ei demtio a'i lithio i ryfygu mewn ysgafnder annuwiol. Ond y mae Iago am i'r galon lawen fod fel telyn hwylus i roddi addoliad i Dduw, sydd yn ein llwytho ni beunydd â'i ddaioni. Fe welwyd llawer Cymro wedi ymgodi i'r fath ysbryd nefol wrth ganu psalmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol, fel y gallasai y merthyron mwyaf duwiolfrydig ymuno gyda hwynt,

ac angylion cynefin â chanu y nef gael mwynhad wrth eu gwrando.

3. *Y mae canu o fendith fawr i grefydd, yn gystal a gweddio.*—Y mae tuedd mewn canu da i nawseiddio a nefoleiddio teimlad, ac i fywhau holl ymadferthoedd y meddwl. Edrycha Paul ar ganu, fel gweddio a phrophwydo, o adeiladaeth mawr i'r eglwys: "Mi a weddiaf â'r ysbryd, ac a weddiaf â'r deall hefyd; canaf â'r ysbryd, a chanaf â'r deall hefyd"—gweddio a chanu mewn teimlad ac mewn trefn, er lles ac adeiladaeth yr eglwys. "Gan lefaru wrth eich gilydd mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol; gan ganu a phyncio yn eich calon i'r Arglwydd." "Gan ddysgu a rhybuddio bawb eich gilydd mewn psalmau, a hymnau, ac odlau ysbrydol, gan ganu trwy ras yn eich calonau i'r Arglwydd." Fel hyn y mae yr Apostol yn cymeryd golwg eang iawn ar ddylanwad canu—fel moddion i ddysgu a rhybuddio, i oleuo y deall, a deffro y gydwybod, yn gystal a nawseiddio y teimlad. Pwy fedr ddyweyd faint o fendith i'n cenedl ni yn unig y mae canu wedi bod yn y gwahanol ystyriaethau y mae yr Apostol yn cyfeirio atynt? Cofia rhai am yr hen ddiwygiadau pan y torai y tyrfaoedd i orfoleddu wrth ganu yr emynau cyntaf, a bendithiwyd hyn er achubiaeth lluoedd nas gallwn ni wybod am eu cyfrif. Rhoddir hanes dyddorol iawn am ddylanwad canu gan ryw hen gobler yn Hamburgh. Ymddengys ei fod, wrth glywed ei aderyn yn canu uwch ei ben, yn teimlo cywilydd na buasai efe fel Cristion yn fwy llawen yn nghanol y fath drugareddau, ac yna trôdd i ganu un o'r hen Psalmau Germanaidd; a dyna lle yr oedd yn canu yn braf wrth drwsio yr esgid, ac yn

hollol ddiofal pwy a'i clywai. Trodd Iuddew ieuanc ato—myfyriwr, a golwg pruddaidd iawn arno, a dywedodd witho, "Wel, gyfaill, begio eich pardwn, yr ydych yn edrych yn greadur dedwydd iawn." "Dedwydd," meddai yr hen Hans, "ydwyf, pa'm lai?" "Fe allwn feddwl," meddai yr Iuddew ieuanc, "fod eich tlodi yn ddigon i'ch gwneyd yn brudd. Ond y mae yn debyg nad oes genych neb ond chwi eich hun i ofalu am dano, a'r aderyn bach yna, ac y mae hwnyna mor llawen a chwithau." "Oes," meddai y canwr psalmau, "y mae genyf fi wraig a saith o blant i ofalu am danynt." Synai yr Iuddew sut yr oedd yn gallu bod mor ddedwydd. O'r diwedd dywedai yr hen Hans wrtho, gan afael yn ei fraich, "Peidiwch gresynu dros fy nhlodi i, yr ydwyf fi yn fab i Frenin!" Aeth yr Iuddew ymaith, gan dybied yn sicr ei fod yn wallgof. Modd bynag, galwodd yno drachefn yn mhen yr wythnos, a chanu yr oedd yr hen gobler y tro hwn eto. Canai y tro yma hymn ar "Deled dy deyrnas," ac wedi canu, eglurodd iddo yn fanwl am y brenin a'r deyrnas, a rhoddodd Feibl iddo i fyned adref gydag ef, ac addawodd weddio drosto. Bu hyn yn foddion i ddychwelyd yr Iuddew, a thrôdd yn genadwr llwyddianus yn mysg yr Iuddewon yn Silesia. Y mae genyf gof plentyn am ganu mawr Sasiwn y Bala, pan y cenid ac y cenid, ac y dyblid y gân, ac y molienid Duw ar fryniau Maldwyn, Dinbych, ac Arfon, wrth droi adref.

4. *Y mae canu yn gystal a gweddio yn ein cymwyso at waith y nef.*—Nis gallwn wybod gyda chyflawn sicrwydd a fydd gweddio yn y nefoedd, ond ni fydd yno ddim gweddio mewn adfyd, yr wyf yn sicr. Ond y

mae yn eithaf sicr y bydd canu yno. Rhydd Ioan olwg effeithiol arnynt yn sefyll ar y môr gwydr, a thelynau Duw ganddynt, wedi cwbl orchfygu eu holl elynion tymorol ac ysbrydol, yn canu "cân Moses a chân yr Oen." Fe fydd gwenau Iesu, blas y gwleddoedd, a nodwedd y cwmni yn cadw y nefoedd yn llawn Haleliwia tragywyddol.

Gocheled y rhai sydd heb weddio mewn adfyd, na bydd modd byth codi i esmwythder y gellir canu ynddo.

---

## PREGETH VIII.

### PARHAD A CHADERNID GAIR DUW.

"Yn dragywydd, O Arglwydd, y mae dy air wedi ei sicrhau yn y nefoedd. Gwirionedd o'r dechreuad yw dy air."—PSALM 119 : 89, 160.

"Gwirionedd o'r dechreuad," hyny yw, o'r gair cyntaf yn Genesis, "yw dy air," ac felly h·d y diwedd. Y mae Hengstenberg yn cyfieithu yn fwy llythyrenol, "Gwirionedd yw swm dy eiriau." Gwyr plentyn sydd yn dysgu rhifyddiaeth na fydd y *sum* ddim yn gywir os na fydd pob ffigiwr ynddi yn iawn. Felly gan mai "gwirionedd yw swm" geiriau Duw, rhaid fod yr holl fanylion yn gywir. Y mae holl gorph y Beibl yn wirionedd, neu fel yr arall-eiriai Luther yr ymadrodd, "Nid yw dy air ddim ond gwirionedd." Nid oes yma ddim twyll a ffugiaeth, fel y cyfieitha Dr. Thomas Briscoe y geiriau o'r Hebraeg i'r Gymraeg, "Dy air di i gyd (sydd) ffyddlondeb."

Ac fel gwirionedd digymysg y mae gair Duw yn ddigyfnewid a thragwyddol. "Yn dragywydd, O

Arglwydd, y mae dy air wedi ei sicrhau yn y nefoedd;" neu fel y cyfieitha Dr. Briscoe yr adnod, "Yn dragywydd, O Jehofah, y mae dy air yn sefydledig fel y nefoedd." Hona rhai fod y Beibl yn dadfeilio o dan gynydd dysg a gwareiddiad yr oes, ac yr ä cyn hir yn hen lyfr gwrthodedig. Ond tystia y testyn yn wahanol i hyn, a chaf finau geisio dangos *parhad a chadernid gair Duw.* Caf nodi,

I. FOD HYN YN GROES I DYNGED GYFFREDIN PETHAU Y BYWYD HWN. O dan ddeddf cyfnewidiad y mae pob peth daearol, ond "yn dragywydd y mae dy air"—o dan ddeddf dragywyddol ac anghyfnewidiol y nefoedd y mae hwn. Y mae wedi ei sicrhau yn meddwl tragwyddol Duw. Cydateba gair Duw i feddwl Duw.

Edrychwch dros y ddaear yn ngoleuni hanesiaeth, a chwi a welwch bob peth o dan ddeddf cyfnewidiad. Pa le y mae Assyria, Babilon, a'r Aipht, gyda eu dinasoedd caerog, a'u hadeiladau uchel a chedyrn, gorchestion Nimrod, Nebuchodonosor, a Pharaoh? Y maent gan mwyaf wedi eu dadymchwel, a'u claddu o dan y clai, y tywod, a'r tyweirch, neu wedi eu dadfeilio gan y gwyntoedd, yr haul, a chyfnewidiadau y tywydd. Ond y mae tystiolaeth gair Duw am y gwledydd a'r lleoedd hyn yn aros yn dragywydd. Beth a ddaeth o ymerodraeth fawr y Cæsariaid o Rufain, oedd yn estyn ei breichiau i bob gwlad, ac yn anfon ei llongau i bob môr, gan osod ei charnau ar wddf pob teyrnas? Y mae hithau wedi ei dadfeilio a'i chwalu yn ddarnau mân. Ond y mae gair Duw, a gyfeiriodd at ei maluriad, yn aros yn dragywydd. Beth a ddaeth o genedl Israel ddaeth allan o'r Aipht, ac a sicrhawyd

yn Nghanaan am ganoedd o flynyddoedd? A beth ddaeth o'r deml y buwyd ddeugain mlynedd yn ei chodi, er prawf o gyfoeth Iuddewig, a chelfyddyd Groeg, yr hon a safai fel bryn o fynor ar fynydd Moriah, gyda'i meini caboledig, a'i haddurniadau aur¿ Chwalwyd y genedl i bob gwlad o dan haul, a datodwyd maen ar ol maen o'r deml, ond y mae gair Duw a gyfeiriodd at hyn yn aros yn dragywydd.

Ysgrifenwyd gair Duw. Ni addawyd iddo fyned i golli gyda'r awel, na chyda marwolaeth cenedlaeth ar ol cenedlaeth. Ni adawyd ef i gyfnewidiad amser. Er i'r pryf geisio bwyta y croen ar yr hwn yr ysgrifenwyd ef, ac i'r tân geisio llosgi y lleni, aros y mae. "Geiriau yr Arglwydd ydynt eiriau purion (*pure words*); fel arian wedi ei goethi mewn ffwrn bridd, wedi ei buro seithwaith"—wedi ei buro yn drwyadl, dim sothach ynddo, ac felly deil byth fel arian pur y gwirionedd. Y mae ffurf-lywodraethau y byd yn newid, ymerodraethau yn diflanu, y ddaear yn heneiddio, a'r nefoedd i fyned heibio, ond "yn dragywydd, O Arglwydd, y mae dy air wedi ei sicrhau yn y nefoedd." Y mae y dydd goleuaf a thecaf yn diflanu mewn nos, y mae yr haf mwyaf dymunol, a'r cynauaf mwyaf toreithiog yn diflanu mewn gauaf, y mae ieuenctyd yn diflanu mewn canol oed, a chanol oed mewn henaint, a henaint mewn marwolaeth, ond "yn dragywydd, O Arglwydd, y mae dy air wedi ei sicrhau yn y nefoedd." Yr ydym wedi darllen am y byddinoedd mwyaf cryfion, arfog, a pharod i ryfel, yn cael eu chwalu a'u medi i lawr wrth y miloedd, ond y mae hen benodau ac adnodau y Beibl yn dal yn ngwyneb ymosodiadau Hume, Gibbon, Voltaire, La

Place, Tom Paine, Bradlaugh, Holyoake, ac Ingersoll. Y mae y rhan fwyaf o'r anffyddwyr a gelynion y Beibl wedi trengu, a'r rhai sydd yn aros, y maent yn prysuro tua'r bedd, ond "yn dragywydd, O Arglwydd, y mae dy air wedi ei sicrhau yn y nefoedd." Gall y cyfieithiadau a'r darlleniadau newid, ond nid yw cnewyllyn y gwirionedd, na thystiolaeth Duw yn newid dim. Y mae hyn yn gwneyd y Beibl yn llyfr ar ei ben ei hun mewn byd mor gyfnewidiol a hwn. Ymgyfyd fel mynydd uchel, eang, a mawreddog, yn ddigyfnewid, tra y mae rhychau y maesydd, a mân dyrau y gerddi, yn cael eu chwalu a'u newid bob tymor.

II. FOD HYN YN BRAWF O WIRIONEDD Y BEIBL.

Y mae gwirionedd mor anfarwol a digyfnewid a Duw ei hun. Nid oes dim ond gwirionedd yn safadwy a digyfnewid. Y mae pob twyll yn sicr o drengu a diflanu rywbryd. Gall cyfeiliornad fyw yn hir trwy gael ei noddi a'i amddiffyn gan alluoedd cryfion, ac yn wir trwy gael ei gymysgu â pheth gwirionedd, ond darfod a wna. Oes ymchwilgar, feirniadol, a diarbed ydyw hon. Rhaid taflu pob peth i'r ffwrnes i'w brofi. Cynygiwch unrhyw dystiolaeth, rhaid cael edrych arni o bob cyfeiriad. Teflir arni bob goleuni. Nid oes unrhyw Brotestant cywir a wrthwyneba hyn. Nid heb ymchwiliad dyfal y ceir hyd i'r gwirionedd yn mhob adran o wybodaeth. Cyfnewidia gwyddoniaeth yn ddidor. Darganfyddir yn mhellach, a chywirir yr hyn a ddywedwyd o'r blaen. Ail-ysgrifenir hanesiaeth, ail-drefnir termau athroniaeth, ail-gywirir rheolau moeseg, ac ail-ffurfir pob adran o wybodaeth ddynol—ceisir gadael ar ol y cyfeiliornadau, a myned yn mlaen gyda yr hyn a dybir yn wirionedd yn ei

wedd newydd. Ond parhâ y Beibl i draethu yr un gwirioneddau o hyd. Gafaela yn y pynciau pwysicaf i feddwl dyn—am Dduw, am golledigaeth dyn trwy bechod, a'i gadwedigaeth trwy ras, am nefoedd, ac am uffern—materion nas gellir byth cael eu pwysicach, y rhai y myn pob oes feddwl am danynt. Ar y materion hyn y mae prif feddylwyr yr oesau yn treulio blynyddoedd goreu eu bywyd i fyfyrio. Troant, chwiliant, a chwalant bob peth er cael allan wirionedd yr hyn a draetha gair Duw. Rhaid cyfaddef fod llawer yn dymuno am i rywbeth ddangos ei fod yn gelwyddog. Onid yw hyn yn brawf o ryw afiechyd, pydredd, ac anonestrwydd ysbrydol? Boed i'r personau hyny a ddymunant weled y Beibl yn cael ei brofi yn gelwyddog holi eu hunain, rhag fod rhyw hunan, chwant llygredig, neu fywyd uffernol yn nodweddu eu cymeriad. Byddai yn ddrwg gan bob dyn da, a myfyriwr gonest, weled fod y Beibl wedi cyfeiliorni pe y caed hyny allan trwy ymchwiliaeth deg, ond mater o grechwen a gorfoledd a fyddai i ddynion llygredig eu meddwl, ac aflan eu buchedd. Y gwirionedd yw, nid yw y dynion hyn yn hoffi yr athrawiaethau, ac am hyny dymunant am iddynt droi allan yn gyfeiliornad, a boddlonant ar y prawfion mwyaf arwynebol a masw o blaid hyny. Mynant mai nid fel y mae y Beibl yn dyweyd y mae y byd wedi cael ei greu, a dynion wedi ymlygru, ac i gael eu cadw. Na, nid ar drugaredd a thynerwch dynion y mae yr hen Feibl wedi parhau hyd heddyw, ond am ei fod "wedi ei sicrhau yn y nefoedd."

Nid traethu ar ryw faterion arwynebol, ac mewn cylch cyfyng a dibwys y mae y Beibl, ond treiddia i bob mater yn nglyn a Duw, dyn, a'r bydoedd.

Traetha ar y greadigaeth drwyddi, er mai ei brif amcan yw dangos iachawdwriaeth i fyd colledig. Dyg ei dystiolaeth am y ddaear mewn dull goleu a synwyrol iawn. Myn rhai ddyfod a daeareg fel yr unig dyst anffaeledig ar hyn, ond y mae y Beibl yn barod i ddyweyd wrth y wyddoniaeth ieuengaidd, hoew, a gwerthfawr hon, "Traetha faint a fynot am y ddaear, a'i haenau, ond cofia fy mod i wedi dwyn fy nhystiolaeth am y ddaear, ei chreigiau, a'i mwnau, oesau cyn dy eni." Dywed y Beibl bethau beiddgar am y bydysawd, "Y nefoedd a ânt heibio gyda thwrf." Dywed seryddiaeth, "Y fi bia traethu ar hynyna." "Boddlon fi," meddai gair Duw, "ond cofia dy fod yn sicr o ddyfod i'r un farn a finau yn y man." Ac yn awr dywed y serydd wr enwog Mr. Proctor, o Loegr, fod adeg yn dod y bydd yr haul yn pallu rhoi ei oleuni—fel lamp yn myned allan. Cyfeiria ein cymydog dysgedig y Proffeswr Langley, o Alleghany City, yn ei ddarlith ar "Yr Haul," at syniadau Heimholtz, am y goleuad rhyfedd hwn. Dywed ef er y gall yr haul oleuo eto am filiynau o flynyddoedd, "it must finally be exhausted"—rhaid y dihysbyddir ei oleuni yn y diwedd. Fel hyn y gwna y Beibl ddwyn tystiolaethau cryfion am wahanol faterion gwyddonol, a saif at yr hyn a ddywedodd, nes y daw gwyddoniaeth ddiwygiedig ac addfed yn union i'r un farn. Ffaeliant perffaith a wnaeth Ingersoll wrth geisio dangos camsyniadau Moses." Dengys yr "Young Scientist" mai "camsyniadau Ingersoll" ydynt. Dengys nad yw y ddaear yn troi ar ei hechel yn ol mil o filldiroedd yr awr, fel yr hona Ingersoll, er gwneyd gwawd o'r Beibl. Dywed Ingersoll pe buasai Moses yn gwybod am y

gwres angerddol a gawsai ei gynyrchu pe buasai y ddaear yn sefyll ar ei hechel, na fuasai byth yn son am y ddaear yn sefyll. Buasai atal y byd, meddai ef, yn cynyrchu cymaint o wres ag a fuasai yn gymeryd i losgi lwmp caled o lo gymaint dair gwaith a'r belen ddaearol. Dylasai wybod nad oes eisiau llawer o wres i losgi lwmp o lo; ar ol i'r glo ddechreu llosgi, cynyrcha gymaint o wres ag a fydd eisiau. Ac am gylchdro y ddaear—nid yw yn ol mil o filldiroedd yr awr ond mewn rhwymyn cul o gylch y cyhydedd yn unig; fel yr eir o'r cyhydedd at y pegynau y mae y cyflymder yn myned yn llai ac yn llai o hyd, fel y mae yn y pegynau yn arafach na bysedd yr oriawr. Nid yw y cyflymder ond .438 o filldiroedd yr awr—llai o fwy na'r haner na'r hyn a ddywed Ingersoll! A phe buasai y cyflymder gymaint ag a ddywed Ingersoll, ni fuasai y gwres yn agos gymaint. Profir hyn bob dydd ar olwynion y rheil-gerbydau, ac olwynion ein gweithfeydd. Fel hyn gellir nodi rhesi o "gamsyniadau Ingersoll," a'r hen Feibl yn parhau at ei dystiolaeth, fel na all yr anffyddiwr doniol, cellweirus, a beiddgar yma siglo dim arno, am ei fod "wedi ei sicrhau yn y nefoedd."

III. Hefyd y mae ei barhad a'i gadernid yn profi ei gyfaddasder cyffredinol i'r byd.

Y mae llawer o bethau yn wirionedd nad ydynt yn perthyn fawr i ni, ac nid ydym yn nghanol prysurdeb gyda phethau eraill pwysicach i ni yn gofalu fawr am danynt. Nid felly y mae gwirioneddau y Beibl. Y mae y Beibl yn ateb i bob oedran, dosbarth, cenedl, ac oes. Hoffa plant ei ddarllen a'i adrodd; a chwi a welwch hwn wrth wely y claf, yr hen a'r methedig,

Deil i'w adrodd yn nghlust yr hwn y bydd ei glyw yn trymhau gan swn tonau yr Iorddonen. Y mae yn gydymaith dyddan i'r morwr ar y cefnfor, a darllenir ef gyda blas yn ngwaelod y pyllau glo. Mi a'i gwelaf mewn ty gwledd, a thy galar; darllenir ef yn y llith briodasol, ac adroddir ef yn y llith gladdu. Y mae hefyd yn gyfaddas i bob chwaeth feddyliol. Yma cä yr hanesydd gyfeiriad at darddiad a threigliad cenedloedd, a chofnodion o'u hanes, y fath nag a gä yn un man arall o'r byd. Nis gall y bardd gwrdd a dim mor aruchel, cyffrous, a thoddedig yn llenyddiaeth yr oesau. Cä y cerddor yma y trydan cryfaf i'w gân, a'r testynau mwyaf amrywiol i redeg ei nodau ar hyd-ddynt. Caiff y serydd wr yma ei adran ddewisol, a'r daearyddwr yr hyn a hoffa, y llysieuwr ei lwybrau ei hun, a'r athronydd ei derfynau penodol.

Ond ei gyfaddasder at ein natur foesol sydd yn gosod y gwerth mwyaf arno. Gallwn anghofio traethodau ac areithiau dysgedig a hyawdl, ond y mae y pethau hyny sydd wedi cydio yn ein serchiadau a theimladau dyfnaf ein calon, yn ein meddylfryd hiraethlon, ac yn ein cydwybodau dwysaf, yn sicr o aros yn ein meddwl. Y mae ffarwel mam wrth fyn'd i'r glyn, ac edrychiad olaf y plentyn wrth farw, wedi eu hargraffu mor ddwfn ar ein cof a'n calon fel nad all treigliad blynyddoedd mo'u symud. Y mae y Beibl yn llawn o'r dylanwadau dyfnion, a'r argraffiadau annileadwy hyn. Cyfeiria o hyd at y galon a'r gydwybod. Y mae deddf cydlyniant yn ein dysgu ni os rhoddir dau sylwedd gwastad ar eu gilydd, fod yn anhawdd eu gwahanu oddiwrth eu gilydd, gan fel y maent yn cydateb i'w gilydd. Felly y mae gwirioneddau gair Duw

yn cyd-daro yn hollol â natur foesol dyn. Y mae y goleuni yn ateb i'r llygad, a'r sain i'r glust, felly y mae gwirioneddau gair Duw yn ateb i angen moesol dyn. Y mae yn y Beibl gyfres o wirioneddau hollol gyfaddas i sefyllfa y byd. Am y rhai hyn y mae y byd yn chwilio trwy yr oesau. Gofynir gan genedlaethau ymofyngar, "Pwy a ddengys i ni ddaioni?"—y daioni penaf—Y DA—sef Duw. Cwyd y Beibl ein golwg ato, "Arglwydd dyrcha arnom lewyrch dy wyneb." Dolefa y galon bryderus, "O na wyddwn pa le y cawn ef." Y mae y Beibl yn cyfeirio yn y modd tyneraf ato: "Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd." Beth sydd yn fwy anwyl? "Yr wyf yn teimlo fod rhyw ddeufyd-gyfarfod yn fy natur," meddai y dyn pryderus; "yr wyf yn perthyn i'r ddaear, y mae hyny yn ddigon sicr, ond nid anifail ydwyf, y mae fy ngolwg ar rywbeth uwchlaw y ddaear; y mae genyf adenydd i ehedeg yn uwch na'r ddaear, yr wyf yn perthyn i fyd arall, dyweder a fyner am danaf." Y mae y Beibl yn dweyd yn hollol fel hyn am ddyn. Cyhoedda gair Duw fod y dyn a greda yn Nghrist yn ddyn wedi derbyn bywyd newydd, ac i fyw byth—ei fod yn ngafael a bywyd yn awr yn ei enaid, ac y cä ei gorph ei godi o'r bedd heb ddim olion cystudd, poen, na dadfeiliad arno byth. Nid anghofia rhai llenorion y siomiant a gawsant yn llyfr hir-ddysgwyliedig Herbert Spencer ar y "First Principles of a New System of Philosophy." Dysgwylid i'r llyfr hwn briodi "gwyddoniaeth a chrefydd," ac i ddystewi yr hen anffyddwyr. Ond ni chaed erioed fwy o siomedigaeth. Arweinid ni i dywyllwch dudew—niwl heb haul na seren—y fagddu hollol. Cydnabydda fod rhyw ALLU

tu ol i ymddangosiadau, ond yr enw a rydd arno yw y "*great unknown*"—yr anwybyddadwy mawr. Y fath siom! O mor oer i galon bryderus a brwdfrydig dyn ymchwilgar! Rhaid i'r galon gael gwybod rhywbeth am y GALLU hwn. "Ti a gei," meddai y Beibl; "Brenin tragywyddol, anfarwol, anweledig, y Duw unig ddoeth," ydyw. Ac y mae yn dyfod a'r Bôd anfeidrol o dan yr enw anwyl a chynwysfawr—"Tad." Metha Tyndall a deall pa fudd sydd mewn gweddio, ond nid yw yn adnabod Duw fel Tad. Ei adnabod fel Tad sydd yn gyru cyfandiroedd ar eu gliniau, ac oesau a cenedlaethau lawer i weddio arno.

Fel hyn y mae y Beibl yn cyfarfod ag angen dyfnaf dyn. Beth pe y cymerid ef o'n gwlad? Byddai breichiau estynedig am dano o bob cwr o honi. Byddai y weddw a'r amddifad eisiau clywed drachefn yr hyn a ddywed wrth eu bath hwy—"Gad dy amddifaid, myfi a'u cadwaf hwynt yn fyw; ac ymddiried dy weddwon ynof fi." Byddai hen deithwyr caled yn ffordd pechod eisiau cael gwybod, beth a ddywed am danynt hwy, a dyma y gloch rybuddiol—"Ffordd troseddwyr sydd galed;" ond y mae udgorn yr efengyl yn galw ar y cyfryw—"Gadawed y drygionus ei ffordd, a'r gwr anwir ei feddyliau; a dychweled at yr Arglwydd, ac efe a gymer drugaredd arno; ac at ein Duw ni, o herwydd efe a arbed yn helaeth." Byddai llanc awyddus am ragori yn ei oes yn barod i ofyn cyn colli yr hen Feibl o'r wlad, "Pa fodd y glanhâ llanc ei lwybr?"—nid oes arnaf eisieu dilyn ffyrdd aflan yr oes, nid oes arnaf eisiau myned i garchar, na chyffion, na marw ar y crogbren, na blino na thad na mam, na thynu gwarth ar fy nheulu. Dyma yr atebiad eglur

a phenderfynol—"Wrth ymgadw yn ol dy air di." Gofyna eraill yn bryderus, "Beth a ddywed am bechod, a maddeuant, am dawelwch cydwybod, am obaith wrth farw, a dysgwyliad am wynfyd wedi angeu a barn?" Ceir ynddo atebiad bendigedig i'r holl ofyniadau pwysig hyn.

Wel dyma Feibl heb eisiau ei newid. Y mae pob rhan o hono "wedi ei sicrhau yn y nefoedd." Y mae rhai ariandai yn y dinasoedd mawrion yn cadw canghenau yn y mân drefydd—tra y deil y banc mawr, ni fydd perygl am y rhai bach. Y mae holl adnoddau y Beibl yn dal cysylltiad a banc mawr y nefoedd. Nid oes perygl am yr un o honynt tra y deil hwnw. Gellwch dynu yn galonog yn ol eich angen o addewidion y Beibl, gan eu bod wedi eu sicrhau yn manc mawr y nefoedd.

---

## PREGETH IX.

### ESGUSODION.

"A hwy oll a ddechreuasant yn unfryd ymesgusodi."—Luc 14 : 18.

"Ymesgusodi" yw rhoi rhyw fath o reswm neu ddadl dros wrthod ufuddhau i alwad, neu ochel dyledswydd. Nid oes dim grym mewn rheswm na dadl os na byddant yn ddigonol, ac felly y mae esgusodion yn fynych yn bethau gwaelion a thwyllodrus iawn. Yr hyn yw arian a biliau drwg mewn trafodaeth fasnachol, ydyw esgusodion mewn cysylltiad â bywyd crefyddol. Edrychwch ar ddolar ddrwg—mor debyg yw i un dda, ac eto nid yw y peth—y mae rhywbeth hanfodol ar ol, ni dderbynir mo honi. Felly y mae

esgusodion yn debyg iawn i resymau, ac eto y maent yn hollol ddinerth a diwerth. Y mae ysbryd ymesgusodi yn beth i'w arswydo a'i ddwys ochelyd. Dechreua mewn ymgais i dwyllo eraill, ond dybena mewn twyllo y person ei hun. Nis gall fod dim yn fwy gwir na'r hen ddywediad hwnw, "Nid yw y dyn hwnw sydd yn dda am wneyd esgusodion, yn dda i ddim arall." Y mae yn diraddio dyn—gwna iddo fyw ar ffug a thwyll gwastadol. Gwanhâ bob cymelliad i wneyd yr hyn sydd gyfiawn a da, a gwna iddo ddyfeisio yn barhaus sut i ochelyd dyledswydd, yn lle ei gynhyrfu i roi ei holl allu ar waith i'w chyflawni. Chwydda y pethau lleiaf nes eu gwneyd yn bethau mawrion—gwna ychydig boen yn glefyd trwm, a rhwystr bach yn fynydd mawr.

Dyma dri dosbarth o ymesgusodwyr yn nghysylltiadau y testyn. Gosodir darpariadau yr efengyl allan o dan y gydmariaeth o wledd fawr. Anfonir y gwas "bryd swper, i ddweyd wrth y rhai a wahoddasid, Deuwch; canys weithian y mae pob peth yn barod." Yn lle dangos parch i arlwywr y wledd, "Hwy oll a ddechreuasant yn unfryd ymesgusodi,"—gwneyd o un galon, ac un genau. "Mi a brynais dyddyn, ac y mae yn rhaid i mi fyned a'i weled; atolwg i ti, cymerer fi yn esgusodol," meddai y cyntaf. *Meddianau bydol* oedd esgus hwn. Mor ddi-sail oedd ei esgus—ni fuasai y tyddyn yn myned i golli, nac yn suddo i'r ddaear, tra y buasai ef yn myned i swper. Da iawn yw gweled rhai trwy ddiwydrwydd yn dod i feddianu tyddynod, a ffermydd, a thai, ond trueni meddwl fod llawer eto yn defnyddio meddianau bydol dros gadw oddiwrth grefydd. "Mi a brynais bum' iau o ychain, ac yr

ydwyf yn myned i'w profi hwynt; atolwg i ti, cymer fi yn esgusodol," meddai yr ail. *Masnach fydol* oedd esgus hwn. Diwerth iawn ydyw hwn eto. Nid amser da i brofi yr ychain oedd wedi y nos. Y mae masnach yn werthfawr i'r byd ac i'r eglwys, ond rhyfedd gynifer sydd yn llechu yn nghysgod masnach rhag dyfod at grefydd. "Mi a briodais wraig, ac am hyny nis gallaf fi ddyfod," meddai y trydydd. *Mwyniant bydol* oedd esgus hwn. Er fod hwn yn teimlo yn rhyddach na neb yn ngwyneb ei esgusawd,—"nis gallaf fi ddyfod," efe sydd yn rhoi yr esgus salaf o'r un. Paham na fuasai yn myned a'i wraig gydag ef i'r wledd? Buasai yn dda gan arlwywr y wledd eu gweled eu dau yn dod gyda eu gilydd. Os oedd hi yn wraig gwerth ei phriodi, yr oedd yn werth ei dangos mewn gwledd. Y mae llawer a änt a'u hanwyliaid i wleddoedd cyn priodi, ond na thalant un gofal iddynt wed'yn. Ac os oedd yn dewis myned wrtho ei hun, gallasai anturio nad aethai ei wraig ar goll beth bynag tra y byddai mewn gwledd. Mawr fel y gwna rhai esgusodion o'u gwragedd rhag ufuddhau i Dduw, ac ymroi gyda ei achos. Gwegi yw hyn oll. Yr ysbryd sydd o dan wraidd yr holl esgusodion ydyw *hunan*—caru boddio ei hun o flaen boddio Duw.

Caf yn awr geisio dangos *gwaelder esgusodion amrywiol ddynion rhag dyfod at grefydd.*

I. DIFFYG AMSER A GOFALON GORMODOL.

Daw un cyfaill yn mlaen, a dywed, "Wel, mi ddeuwn i at grefydd, ond nid oes genyf ddim amser ar hyn o bryd, beth bynag, gan fod gofalon masnach a'r byd y fath fel nas gallaf feddwl am grefydd.'

Diau fod y cyfaill yma yn cael yr un faint o fisoedd yn y flwyddyn, a'r un faint o Sabbothau yn y mis, a'r un faint o ddyddiau yn yr wythnos, a phawb eraill. "Dim amser!" Ni wna crefydd wastraffu moment o amser neb. Dysga bawb i iawn "brynu yr amser." Dim amser i fyw yn dduwiol! Digrif iawn a fyddai clywed plentyn mewn teulu yn dyweyd, "Nid oes genyf fi ddim amser i anrhydeddu fy rhieni, dim amser i ddweyd y gwir, dim amser i fod yn onest, dim amser i fyw yn gyfiawn." Fe chwarddai pawb am ben y fath esgusawd. Y mae y dyledswyddau yna uwchlaw amser, ac y mae caru ac anrhydeddu Duw uwchlaw y rhai yna drachefn. Dim amser i garu ac ufuddhau i Dduw! Os felly, nid oes genym amser i fyw, oblegid dyma ddyben ein bodolaeth. Y mae pob creadur wedi ei greu i ryw ddyben. Ai tybed mai er mwyn llwyr ymroi i'r byd, a gwneyd dy ran yn hollol yn y bywyd hwn, y crewyd ti, gyfaill anwyl? Ai tybed fod eisiau mwy o amser i garu Duw, nag i'w gasâu? A oes eisiau mwy o amser i ddweyd y gwir, ac i ymddwyn yn anrhydeddus, nag i ddweyd anwiredd, ac i ymddwyn yn annuwiol? "Ie, y mae yn rhaid i mi ofalu am fy masnach." Rhaid yn ddiau. Ond a wyt ti yn tybied pe y derbyniet ti grefydd heddyw, y danfonit ti oddiwrth dy fasnach (os yn gyfreithlon) i ryw ogof neu fynachdy? Na wneid. Gwna crefydd ireiddio dy feddwl, a thawelu dy feddwl yn ngwyneb trafferthion masnach, rhag niweidio dy iechyd, neu ddyrysu dy synwyrau. "Ie, ond y mae fy ngofalon mor fawrion a thrymion." Ai tybed pe y deuet at grefydd y byddent yn fwy a thrymach? Yn hytrach, oni fyddent yn llai ac ysgafnach? Oni fyddai dy

bryder di yn llai pe y gwir ymddiriedet ti yn Nuw, fel dy Dad yn y nefoedd? Oni fyddai yr ystyriaeth dy fod yn blentyn Duw, wedi rhoi dy hun yn hollol yn ei law, i gael dy arwain gan ei ragluniaeth ddoeth a gofalus, yn ysgafnhau dy bryder a'th ofalon? Felly y mae miloedd sydd wedi gwneyd "y goreu o'r ddeufyd" wedi teimlo. Yn wir, po fwyaf fyddo dy ofalon mwyaf yn y byd o eisiau crefydd sydd arnat. Y mae yr holl esgusodion yma yn diflanu fel y niwl.

II. YMRANIADAU EGLWYSIG, AC ANMHERFFEITHDERAU CREFYDDWYR.

Nid oes neb a gyfiawnhâ bob rhaniad eglwysig, a phob ymbleidiad crefyddol; ond gellir dweyd yn eglur ar y cyntaf mai esgus truenus o wael dros gadw oddiwrth grefydd yw hwn. Gall yr ymraniadau fod yn gymaint mantais beth bynag ag o anfantais. Onid oes gwahanol Dalaethau yn yr Undeb, a gwahanol siroedd yn yr un Dalaeth, a gwahanol drefydd yn yr un sir? A ydyw yr amrywiaethau yma yn rhoi hawl i ti, gyfaill anwyl, i wrthod cydnabod yr un llywodraethwr? Beth a ddywedai y trethgasglydd pe y dywedit wrtho, "Nid wyf fi am dalu yr un dreth nes cael yr un cyfreithiau yn mhob Talaeth, a'r un trefniadau yn mhob dinas." Fe edrychai yn syn ar dy ddadl. Ni wnai dy arbed er dim er ei mwyn. Fel yna yn union yr wyt yn gwneyd gyda chrefydd. Os ydyw yr enwadau yn rhanedig eu barn am ffurf eglwys, a rhyw fân ddefodau, y maent yn un o ran eu barn am y ffordd i bechadur gael ei gadw. Pe y gofynit i'r gwahanol enwadau Cymreig, "Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf gadwedig?" rhoddent yr un ateb yn union i ti, "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chad-

wedig fyddi." Y mae y gwahanol enwadau yn uno i weddio drosot, ac yn gwneyd eu goreu i dy wahodd at Iesu Grist. Paid a gadael i hyn dy rwystro, beth bynag. Rhaid dy fod yn ddyn hynod iawn os nad oes rhyw enwad yn cyd-daro a'th farn, ac os nad oes yr un enwad wrth dy fodd, yr wyt mewn gwlad rydd fel ninau; dos a chwyd un newydd yn fwy at dy feddwl dy hun.

"Ie, ond y mae crefyddwyr mor llawn o wendidau." Ydynt, dylid cydnabod hyny yn onest, a chyda galar. Gwareded Duw ni rhag achlesu neb yn ei ddrwg. Ond dylid cofio, os ydyw yr eglwys mor anmherffaith, fod hyny yn brawf fod y byd yn ddrwg iawn, oblegid o'r byd y mae yr eglwys yn eu cael i gyd, a thrwy ymdebygu i'r byd y maent yn myned yn ddrwg. Os dysgwyl cael yr eglwys yn berffaith yr wyt, rhaid i ti ddysgwyl yn bur hir eto. Ychydig iawn o bobl dda a welais i yn honi eu bod yn berffaith, a'r ffaith yw ni welais i yr un yn Nghymru, Lloegr, nac America. Ond y mae y rhan fwyaf yn fwy perffaith nac yr wyt ti yn tybio. Efallai mai y drwg sydd ynot ti dy hun, wyt ti yn dybio sydd yn dy frawd. Yn dy lygad a'th farn ddrwg di y mae y bai. Ac hefyd ni wyddost ti ddim am y boen y mae plant Duw yn gael oddiwrth eu gwendidau—faint o ddagrau a gollant ar eu gobenyddiau, pan na fydd llygad neb ond llygad Duw yn edrych. Pan y byddi di yn edliw, bydd Duw wedi maddeu. Y mae adeg y daw pob crefyddwr cywir yn berffaith. Cymer amynedd. Goddef gyda gwendidau am dipyn, nid am byth. Nid oriel darluniau—lle y mae pob darlun wedi ei orphen, yw yr eglwys eto: nage, ond arlunfa lle y mae yr arlunydd dwyfol wrth

y gwaith. Fe roddir y *finishing stroke* cyn hir. Ysgol yw yr eglwys, lle y mae gwahanol ddosbarthiadau—rhai yn y wyddor, eraill yn y cangenau uchaf. A fyddai yn deg i ti, wrth fyned a dy blentyn i'r ysgol, ddweyd wrth weled plant yn y dosbarth uchaf, "Ni chaiff fy mhlentyn i ddim myned i'r ysgol yma, ni fedr y rhai hyn ddim dweyd yr A B C." Na, gwnaet gam a'r plentyn a'r athraw trwy hyny. Dyna yn union fel yr wyt yn gwneyd ag eglwys Dduw. Hefyd carwn i ti gofio, O! esgusodwr cas wrth grefyddwyr gweiniaid, os wyt ti yn abl i feio, dy fod yn abl i wybod beth sydd iawn, a dylet wneyd yr hyn sydd iawn dy hun yn gyntaf, cyn beio neb arall. Daw yn galed arnat yn wir os na wnai. "A'r gwas hwnw, yr hwn a wybu ewyllys ei arglwydd, ac nid ymbarotôdd, ac ni wnaeth yn ol ei ewyllys ef, a gurir â llawer ffonod." Cofia eto, hefyd, pe byddai pob crefyddwr yn dwyllwr, na wnai hyny ddirymu dy rwymedigaeth di i fod yn grefyddwr, mwy na phe byddai pawb yn y wlad yn anonest i ddiddymu dy rwymedigaeth di i fod yn onest. Tyr'd, ildia dy hen esgusodion, ac ymwisga mor hardd, ac ymrodia mor bur, nes rhoi esiampl i ni i gyd.

III. GWAELDER MWYNIANT CREFYDD MEWN CYFERBYNIAD I FWYNDERAU Y BYD.

Dyma esgusawd cyffredin y bobl ieuainc, "Pe y deuwn at grefydd," meddai yr ieuanc, "collwn bob mwyniant, a byddwn yn hen cyn haner fy nyddiau." Y mae yr esgusawd yma yn dangos perffaith anwybodaeth o wir natur crefydd, a diffyg profiad helaeth o'r byd. Dim mwyniant mewn crefydd! Y mae pob un sydd wedi cael crefydd, a byw bywyd crefyddol, yn

tystio ar hyd eu bywyd, ac yn datgan yn ddifrifol pan y mae angeu ar ddiffodd canwyll eu bywyd, mai oddiwrth grefydd y cawsant hwy yr hyfrydwch, y cysur, a'r mwyniant penaf. Pa fwyniant a geir mewn pechod? Pa bechadur yn mysg y lluoedd sydd yn myned i dragywyddoldeb bob dydd a dystia iddo erioed gael gwir gysur mewn pechod? Na, na, tystia pob un mai y gwpan felusaf a gafodd yn ngwleddoedd pechod, a drodd yn fwyaf chwerw iddo yn ei gystudd olaf. Ie, ewch at y meddwyn yn nghanol ei lawenydd, a chwi a'i cewch ambell i eiliad yn ffieiddio ei hun am fod mor ffol a gwario ei enillion caled am oferedd. Teimla hyd yn nod y lleidr ambell i fynyd, wrth fyned a'i ysbail, ryw iâs o gywilydd a gofid yn herwydd ei ddrwg. Nid yw y teimladau yna yn ddwfn iawn, nac yn faith iawn, mae yn wir, ond eto y maent yn ddigon i brofi mor wag ydyw mwyniant pechod.

Myned yn hen cyn han er dy ddyddiau, fab neu ferch ieuanc! Pwy erioed a aeth felly gyda chrefydd, ac yn herwydd crefydd? A oes rhyw fath o bechod i gadw ireidd-dra dyn, a pharhau ei ieuenctyd? Yn hytrach o lawer, onid yw pechod yn dinystrio iechyd, dyrysu synwyrau, a lladd rhyw lu mawr o ieuenctyd bob blwyddyn? "Y ffyliaid o ddiffyg synwyr (crefydd) a fyddant feirw." "Na fydd ry annuwiol, ac na fydd ffol: paham y byddi farw cyn dy amser?" Y mae crefydd yn cadw rhag damweiniau a chystuddiau lawer; ac os ceir damwain neu gystudd, y mae gwell gobaith am wella ar ol dilyn bywyd crefyddol. Gwelsom lawer wrth droi yn grefyddol yn estyn eu heinioes, ac yn adnewyddu eu hieuenctyd a'u nerth. Na thwyller chwi, ieuenctyd anwyl, ffordd chwerw, galed,

flinderus, yw ffordd pechod, a ffordd hyfrydwch a gwir fwyniant, a llwybr heddwch meddwl a llawenydd calon sydd gan grefydd.

IV. Diffygion personol.

Dyma rai na feiant neb ond hwy eu hunain. Y mae hyny yn eithaf yn ei le, ond nid yw ond cysgod gwael rhag gwneyd yr hyn sydd iawn. "Yr ydwyf fi yn rhy ddrwg, ac y mae yn rhaid i mi aros tipyn i wella rhagor." Rhai drwg i'w gwella sydd ar grefydd eisiau, ac nid oes dim a fedr eu gwella ond crefydd. Pa synwyr a fyddai i'r claf ddywedyd, "Myfi a âf at y meddyg pan ddeuaf dipyn yn well?" Neu i un aflan ddyweyd, "Myfi a ymolchaf pan y deuaf dipyn glanach?" Neu i un newynog ddyweyd, "Myfi a ymborthaf pan y bydd ychydig llai o newyn arnaf?" Byddai pawb yn gweled hyny yn afresymol. Ond dyna fel yr ymesgusodir dros wrthod crefydd! "Yr ydwyf fi yn rhy anwybodus i allu gwneyd dim gyda chrefydd," meddai un arall Ysgol i ddysgu rhai anwybodus yw eglwys Dduw, ac y mae miloedd wedi cael eu gwneyd "yn ddoeth i iachawdwriaeth." Ni ofyna Duw na dynion i neb wneyd ond yr hyn a all. Tyr'd i'r ysgol heb oedi. "Yr ydwyf fi mewn lle rhy brofedigaethus." Nid yw dy le di yn fwy profedigaethus na lle Joseph yn nhy Potiphar, Obadiah yn nhy Ahab a Jezebel, a Daniel yn llys Babilon, a buont hwy yn grefyddol iawn yn y lleoedd hyny. "Yr ydwyf finau mewn lle rhy gaeth," meddai y llall. Nid ydwyt mewn lle mwy caeth na'r forwyn fach yn nhy Naaman y Syriad, a cheidwad y carchar yn Philippi, a llu o rai cyffelyb. "Yr ydwyf fi," meddai esgusodwr arall, "mewn eithaf amgylchiadau, ond y mae

genyf dymer ryfedd iawn." Wel, a wyddost ti fod crefydd, os nad yn newid y dymer, yn ei llywodraethu a'i rheoli? "Ië, nid wyf fi yn meddwl y gall crefydd newid fy nhymer boethlyd i, i fod yn oer ac araf." Na all, ac nid oes eisiau; ond gall droi dy boethder di yn sêl dros ddaioni. Eisiau mwy o dy fath di sydd arnom. Ni fyddai ein haddoliad mor oer, a'n Hamenau mor brin, pe deuet ti a dy fath at grefydd. "Nid wyf finau," meddai y llall, "yn meddwl y gall crefydd fy ngwneyd i, sydd o dymer oer ac arafaidd, yn ddysgybl brwdfrydig a thanllyd." Na all, ond gall dy wneyd yn un cadarn, pwyllog, a diysgog, ac y mae digon o dy eisiau dithau, rhag i ni wylltio oll yr un pryd. Dyma esgusodwr eto, "Ofni gwrthgilio yr wyf fi," meddai. Ni wrthgiliodd neb erioed wrth ymddiried yn nerth gras Duw. Paid ymddiried ynot dy hun, ond llwyr ymddirieda yn yr Arglwydd, ac ni lithri di ddim byth. Fel hyn y mae yr holl esgusodion oddiwrth ddiffygion personol yn hynod wael.

V. Dysgwyl am amser gwell.

"Yr ydwyf fi yn meddwl dod at grefydd," meddai aml un, "ond daw adeg well." Fel hyn yr oedd Ffelix gyda Phaul. Y mae hwn yn esgusawd poblogaidd iawn, ond hynod o dwyllodrus. Fe ddywedir am y rhai sydd yn cymeryd *opium*, eu bod yn llawen ac ysgafn iawn eu meddwl pan o dan ei ddylanwad; ond eu bod yn syrthio drachefn i iselder a phoenau ysbryd dychrynllyd pan y mae ei ddylanwad yn cilio. Felly y mae rhai wrth addunedu dyfod at grefydd ryw amser gwell, yn teimlo ar y pryd hwnw ryw esmwythder hyfryd am eu bod wedi taflu heibio genad Duw heb ei wrthod yn hollol; ond fe ddaw rhyw

boenau blinderus ar ol hyn. Dysgwyl amser gwell! Pa sail sydd i hyn? A oes rhyw sicrwydd y byddi yn fyw, yn iach, a'th synwyrau genyt, rywbryd yn y dyfodol? Os nad oes, paham y meiddi ymddiried peth mor bwysig i amser mor ansicr? Addawai merch ieuanc ddyfod at grefydd yn bur fuan, ond gwrthodai yn bendant ddyfod ar y pryd. Bu farw mewn rhyw bymthegnos wed'yn, heb ddyfod at grefydd! Pe byddai yr esgusodwr yma byw gellid gofyn iddo, A fydd dy galon mor dyner, a'th feddwl mor barod i dderbyn Crist, ag ydwyt yn awr? Os na elli sicrhau hyn, paham y goddefi i dy galon gael ei chaledu gan bechod? Tymor gwell! Beth a'i gwna yn well? A fydd mwy o gariad yn Nuw at bechadur y pryd hwnw? A fydd mwy o rinwedd yn ngwaed y groes y pryd hwnw? A fydd mwy o rym yn nylanwadau yr Ysbryd Glan y pryd hwnw? A fydd uffern yn llai dychrynllyd y pryd hwnw? A fydd y nefoedd yn hawddach myn'd iddi y pryd hwnw? Beth sydd i wneyd yr amser gwell? Ni chlywyd neb a ddaeth at grefydd yn dyweyd, "Y mae yn dda genyf fy mod wedi oedi hyd heddyw rhag dyfod." Na, dyma gwyn pawb, "Buasai yn dda genyf, O! buasai yn wir, pe buaswn wedi dyfod yn gynt at grefydd. O! y blynyddoedd gwerthfawr a gam-dreuliais." Oes, y mae miloedd a ddysgwyliasant am yr amser gwell heddyw yn y trueni yn gruddfan am ei golli—"Y cynhauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig." Ni chafodd Ffelix nac Agrippa mo hono, ac ni chaiff neb mo hono. Ag i rai gael byw yn hir, ni cheir byth well adeg na hon i geisio crefydd. Pe y deuai y rhai sydd yn oedi yn awr at grefydd yn y dyfodol, hwynt-hwy

o bawb a ofidiai fwyaf am ddarfod iddynt oedi cyhyd. Y mae yr "amser gwell" yna y dysgwylia cymaint am dano yn debyg iawn i'r *fog-banks* sydd yn fynych yn dyrysu y morwyr. Tybiant eu bod yn gweled mynyddoedd, a thir braf; ond wrth gyfeirio atynt, canfyddant nad yw y cwbl ond niwl a ddiflana, a lluchir hwynt yn erbyn y creigiau a gysgodir. Dyma fel y bydd ar ddegau o wrandawyr yr efengyl, cânt hwythau eu gwthio yn erbyn creigiau siomiant, a chreigiau ofnadwy fydd y rhai hyn i eneidiau colledig.

Ai tybed na lwyddaf gyda rhai o'r esgusodwyr i roddi eu hesgusodion i fyny gyda brys? Y mae Duw yn gwahodd yn garedig heddyw i'r wledd, ac y mae yn sicr o gael rhyw dyrfa fawr iddi. A ddeuwch chwi? Deuwch heb oedi. Anogai hen wr ddyn ieuanc i fyned at grefydd. "Pa'm nad ewch chwi?" meddai y gwr ieuanc. "Y mae fy nghalon wedi myned yn galed iawn," oedd yr ateb. Cofier y bydd Duw yn gwrthod. Yr wyt ti, esgusodwr, yn cael gwrthod heddyw, ond gwna Duw cyn hir: "Canys yr wyf yn dywedyd i chwi, na chaiff yr un o'r gwyr hyny a wahoddwyd (heb ufuddhau) brofi o'm swper i." Rhoddodd brenin yn yr hen amser lamp i fyny yn ei balas, ac achosodd alw y troseddwyr ato tra y llosgai hono, ac addawai roi maddeuant iddynt; ond os gadawent i'r lamp fyned allan, yr oedd diwedd arswydus yn eu haros. Da genyf ddyweyd fod lamp efengyl heb fyned allan eto, ac y mae lamp bywyd heb ddiffoddi.

"Tra dalio'r lamp i losgi 'ma's,
Yr adyn gwaethaf eill gael gras."

## PREGETH X.

### CYFEILLION IESU GRIST.

"Chwychwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi.

Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn weision; oblegid y gwas ni wyr beth y mae ei Arglwydd yn ei wneuthur; ond mi a'ch gelwais chwi yn gyfeillion; oblegid pob peth a'r a glywais gan fy Nhad, a hysbysais i chwi."—IOAN 15 : 14,15.

Y mae yn anhawdd penderfynu yn iawn pa un ai yn yr oruwchystafell, neu ar y ffordd i Gethsemane y llefarwyd y benod hon a'r ddwy ganlynol. Tybia rhai oddiwrth y frawddeg ddiweddaf yn y benod flaenorol, "Codwch, awn oddiyma," mai wedi myned allan o'r ystafell, a chyn cyraedd yr ardd y cawsant eu llefaru! Ond tybia eraill nad yw yr ymadrodd yna yn golygu dim pellach na chodi oddiwrth y bwrdd, a rhagbarotoi i fyned allan. A phan feddyliom ei bod yn lled hwyr y nos, ac nad oedd y ffordd yn bell i Gethsemane, a bod yr hyn a draethwyd yn fanwl, dwfn, ac ysbrydol iawn, dichon fod yn fwy priodol i ni ystyried i hyn gymeryd lle cyn myned o'r ystafell, o'r hyn leiaf y rhan fwyaf o'r hyn a gofnodir. Modd bynag y mae yn eithaf sicr mai o'r adeg y bu Crist yn swpera gyda'r dygyblion, i'r adeg y bu yn gweddio yn yr ardd, y cymerodd hyn le.

Gallwn feddwl fod rhyw gymwysder neillduol yn Ioan i gofnodi yr anerchiadau hyn. Y mae Duw bob amser yn dewis y dynion cymwysaf at bob gwaith. Yr oedd Ioan mor hoff o'r pethau mewnol ac ysbrydol, fel mai efe a ddewisodd yr Ysbryd Glan i gofnodi y

rhan fwyaf o syniadau a geiriau y Gwaredwr, tra y mae Efengylwyr eraill yn cofnodi mwy o'i symudiadau a'i weithrediadau.

Cedwir un peth yn amlwg iawn trwy y penodau hyn, sef y rhwymyn undeb agos ac anwyl sydd yn bodoli rhwng Crist a'i ddysgyblion. Dyma sydd yn cael ei osod allan yn nameg brydferth y winwydden a'r cangenau, a dyma ydyw y gwirionedd a ddysgir yn y testyn, "Chwychwi yw fy nghyfeillion." Yr oedd wedi defnyddio yr ymadrodd "cyfeillion" yn niwedd yr adnod flaenorol, "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb; sef, bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion." Creai hyn deimladau rhyfedd yn y dysgyblion—meddwl eu bod yn gyfeillion i'r fath un, rhai mor anhaeddianol a hwy! Ond sicrha Iesu Grist y gwirionedd yn y modd mwyaf pendant a chryf, "Chwychwi yw fy nghyfeillion." Er fy mod i yn myned i'ch gadael yn fuan, yr ydych wedi dyfod i berthynas mor agos a mi, fel yr ydych yr hyn na elwais mo honoch nemawr o'r blaen, (Luc 12 : 4)—yn *gyfeillion* i mi. Dyma eiriau cynes a serchog y Gwaredwr yn myned o dan wraidd eu galar a'u hiraeth ar ei ol. Gadewch i ni yn awr sefydlu ein meddwl ar y credinwyr fel *cyfeillion Iesu Grist.*

I. Natur y berthynas.

Fe welir fod y berthynas yma yn cael ei gwahaniaethu oddiwrth un arall, sef "gweision." "Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn weision;" dyna yr enw mwyaf cyffredin a roddai arnynt o'r blaen. Y mae "gweision" (ymyl y ddalen yn y cyfieithiad diwygiedig, "rhwym-weision, *bond-servants*), yn dyfod a hwy

i berthynas, ond un bell ydyw. Ond y mae "cyfeillion" yn eu dwyn yn nes. Fath berthynas yw hon?

1. *Perthynas a ffurfir trwy ddewisiad o'r ddwy ochr ydyw hon.*—Yr ydym yn dyfod i rai perthynasau trwy angenrheidrwydd natur, cyfraith, ac amgylchiadau, heb ein cydsyniad mewn un modd. Perthynas felly yw rhieni a phlant, brodyr a chwiorydd, cymydogion, cyd-drefwyr, cydwladwyr, a chydoeswyr. Ond am gyfeillion y maent yn dyfod i berthynas trwy gyd-ewyllysiad, neu ddewisiad. Y mae yn gyd-ddewis rhwng Crist a'i bobl. Nid oes eisiau myned i ddadleu pwy sydd yn dewis gyntaf, oblegid dywed Crist yn bendant, "Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais chwi." (Adn. 16). Gelynion oeddym ni wrth naturiaeth, "gelynion mewn meddwl, trwy weithredoedd drwg. Ond efe a estynodd ei law gyntaf i wneyd heddwch. Eto nid cael eu gorfodi i'w dderbyn y mae ei bobl, ei ddewis y maent hwythau o fodd eu calon. "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth." Y mae yma yn sicr hoffi a dewis o'r ddwy ochr. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni.

2. *Perthynas ydyw cyfeillion a ffurfir trwy gydnabyddiaeth agos.*—Y mae yn dygwydd weithiau mewn teulu lluosog, fod y plant hynaf a'r rhai ieuengaf yn lled ddyeithr i'w gilydd. Bydd un neu ddau o'r rhai hynaf wedi myned oddi cartref i dref neu ardal bellenig, neu efallai i wlad bellenig, heb erioed weled y rhai ieuengaf; ond y maent yn berthynasau yr un mor agos a gwirioneddol a'r brodyr a'r chwiorydd sydd gartref ar yr un aelwyd, ac yn amgylchu yr un bwrdd bob dydd. Ond nis gellir dyfod yn gyfeillion trwy

ddyeithrwch fel yna. Rhaid i ni feddu adnabyddiaeth o ddyn cyn y gall ef a ninau fod yn gyfeillion. Felly y mae yn rhaid i ni adnabod Iesu Grist, nid trwy hanes, ond trwy brofiad byw, fel y mae yr Ysbryd Glan yn ei ddangos i ni yn ei holl ogoniant. "A hyn yw'r bywyd tragwyddol; iddynt dy adnabod di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Byddwn yn arfer dyweyd wrth ein gilydd, "Ni wn i ddim am y person a'r person, ond yr ydych chwi yn gyfaill iddo, fe wyddoch chwi fath un ydyw." Nid ydym ni yn gyfeillion i Iesu Grist os na wyddom ni fath un ydyw.

3. *Perthynas sydd yn dangos fod yno lawer o gyddarawiad teimlad a meddwl ydyw.*—Y mae yn ddywediad cyffredin fod dyn i'w adnabod oddiwrth ei gyfeillion. Rhai tebyg ydynt. Chwi welwch hyn mewn natur, cydymgasgla y rhai tebyg at eu gilydd yn y coedwigoedd, yn y meusydd, ac yn y dyfroedd. Y mae Chrysostom yn dyweyd fod "cyfeillach yn cael neu yn gwneyd dynion yn debyg." Nid allwn gyfeillachu yn hir â neb heb feddu cydnawsedd teimlad, chwaeth, ac arferion. Y mae cyfeillion Iesu Grist i fod i fesur yn debyg iddo ef. Gwir ei fod ef yn anfeidrol ragori ar bawb, eto y mae ei gyfeillion o'r un ysbryd, meddwl, ac egwyddor. Y maent yn ymddifyru yn yr un pethau, ac yn amcanu at yr un nôd. Yr un achos mawr sydd yn agos at eu calon a'u meddwl. Os nad ydym fel hyn, nid ydym yn sicr yn gyfeillion i Iesu Grist. "Ac od oes neb heb Ysbryd Crist ganddo, nid yw hwnw yn eiddo ef."

4. *Perthynas ydyw hefyd sydd yn dangos hoffder mawr, a chyfrinach agos.*—Y foment y peidiwn a charu

dyn, yr ydym yn peidio a bod yn gyfaill iddo. Dywed Moses am gyfaill, "Yr hwn sydd fel dy enaid dy hun." Y mae gwahaniaeth rhwng cyfeillgarwch a chariad cyffredinol, ac ewyllysio yn dda i eraill. Gallwn ewyllysio yn dda i bersonau cydmarol ddyeithr i ni, ond nis gallwn eu caru fel cyfeillion. Ie gallwn ewyllysio yn dda i rai heb iddynt hwy wneyd hyny i ni, ond nid cyfeillgarwch yw hyny; y mae yn rhaid cael cariad a dymuniadau da o'r ddwy ochr cyn y bydd yna gyfeillgarwch. Y mae hyn eto yn eithaf sicr yn ei berthynas a Christ a'i ddysgyblion. Y mae Crist yn caru yr eiddo, y rhai sydd yn y byd, ac fe'u "carodd hyd y diwedd." Ymffrostia yn ei gariad, "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion." Ac y mae yntau yn cael ei garu gan ei eiddo. Y mae yn well ganddynt am dano na neb arall. Dywed yr eglwys am dano gyda hoffder, "Y mae efe oll yn hawddgar. Dyma fy anwylyd, dyma fy nghyfaill, O ferched Jerusalem." "Yr hwn er nas gwelsoch, yr ydych yn ei garu."

Y mae yna hefyd gyfeillach agos rhwng cyfeillion. Fe ddywedwn bethau wrth gyfeillion na ddywedwn am ddim arian wrth ddynion yn gyffredin. Un o anhebgorion cyfeillgarwch ydyw medru derbyn a chadw cyfrinach. Hen ddywediad doeth iawn yw hwnw sydd yn un o lyfrau yr Apocrypha, "Os datguddi gyfrinach dyn, na ddilyn ar ei ol ef mwyach." Ni waeth i ti heb wneyd, y mae wedi ffoi yn ddigon pell oddiwrthyt, o ran ei deimlad, beth bynag—fel aderyn wedi ei ollwng o'r llaw, wedi ehedeg am ei fywyd i'r goedwig. Y mae iachau ar ol llawer o archollion, a maddeu am lawer o ddiffygion mewn cyfeillach, ond y mae hi

yn ddatod cyfeillach am byth ar ol datguddio cyfrinach. O! mor agos yw y gyfrinach sydd rhwng Crist a'i bobl. Dyma fel y dywed yn y testyn, "Nid ydwyf mwyach yn eich galw yn weision, oblegid y gwas ni wyr beth y mae ei arglwydd yn ei wneuthur." Deua y gwas i mewn i'r parlwr yn awr ac yn y man, wrth alwad am dano, ond ni wyr ddim am gynlluniau, a threfniadau, a theimladau, a syniadau ei feistr. Y cyfaill sydd yn cydeistedd, yn cydymgomio, ac yn cydgymdeithasu yn bwyllog ac agos, hwnw sydd yn cael gwybod y pethau hyny. Yr oedd Crist wedi galw ei ddysgyblion ato, ac wedi hysbysu iddynt gymaint o gyngor ei Dad am y drefn gyfryngol, ac am dano ei hun, ag a allent hwy dderbyn ar y pryd. Yr oedd yr Ysbryd Glan drachefn i ddwyn ar gof iddynt, ac i fynegu yn fanylach iddynt. Hysbysa Duw eto bethau i'w bobl na wna i'r byd. "Dirgelwch (*secrets*) yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant ef."

II. Amodau y berthynas.—"Os gwnewch pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi."

Ufudd-dod i Iesu Grist sydd i fod yn delerau ein derbyniad a'n harosiad yn y berthynas hon. Rhaid i ni wneyd pob peth y mae yn ei orchymyn i ni. Y mae hyn ar unwaith yn gosod mawredd ar Iesu Grist. Un sydd a hawl i orchymyn ydyw. Nid ydym fel rheol, yn enwedig yn yr America, yn hoffi yr ysbryd *dictatio* a rheoli sydd mewn rhai dynion—pâr hyn i ni eu casâu yn hytrach na'u caru, fel y byddant i ni yn elynion yn hytrach na chyfeillion. Ond y mae gwaith Iesu Grist yn gorchymyn, yn dangos ei fod yn Dduw, yn Frenin, yn Ddeddfroddwr, a Barnwr, yn gystal a Gwaredwr. A gellir edrych ar ei orchymyn-

ion ef, gan gymaint ei gariad, fel dymuniadau cyfaill, yn hytrach na gosodiadau gormesol. "Ei orchymynion ef nid ydynt drymion." Gellir aralleirio y testyn gyda pherffaith briodoldeb—"Chwychwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynag yr wyf fi fel eich cyfaill goreu, ar fin marw drosoch, yn ddymuno arnoch wneyd." Y mae yn disgyn yn esmwyth iawn fel hyn. Nid yw yn ddichonadwy i ni fod yn gyfeillion i Fab Duw, os ydym ni yn esgeuluso gwneyd yr hyn y mae wedi ddweyd wrthym. Y mae yr ufudd-dod hwn i fod, Yn gyntaf, *Yn un serchog a chalonog.* Fe fydd yn dda genym bob amser wneyd cais cyfaill, yn enwedig cais dwys a hynaws cyfaill ar fin marw. Un felly yw cais Iesu Grist. Fe rydd y gwas ufudd-dod, ond efallai y bydd yn codi oddiar fwy o ofn, nag o gariad. Ond am ufudd-dod y cyfaill, y mae yn hyfrydwch ganddo. Bydd yn dda genym wneyd yr hyn a ddywed y Gwaredwr os ydym yn gyfeillion iddo. Yn ail, *Y mae i fod yn un manwl.* "Pa bethau bynag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi." Nid gwneyd rhyw un peth mwyaf cymwys at ein chwaeth. Nid ein teimlad ein hunain sydd i fod yn rheol ein gweithrediad, ond gorchymyn Iesu Grist. Y mae llawer yn crefydda yn ol eu teimlad, ac nid yn ol eu dyledswydd. Y mae ein bywyd a'n dyledswydd ni yn ymddibynu ar ein hufudd-dod llawn i holl orchymynion Iesu Grist. Yn drydydd, *Y mae yn rhaid iddo fod yn ffyddlon a didwyll.* Nid rhyw ymddangosiad, ond gwneyd yn ddidwyll. Nid am dro, ond yn gyson a didor. Peidio byth anghofio dymuniadau y Cyfaill goreu.

III. RHAGORIAETHAU Y BERTHYNAS.

Y mae cyfeillach ddynol dda yn ddymunol, fel y

gwyr llawer wedi treulio amser mewn unigedd yn yr America. Nid oes dim mor ddymunol a hyfryd a chael cyfarfod â chyfeillion doeth a duwiol ar ol myfyrdod, neu lafur caled, neu pan wedi cwrdd â llwyddiant uchel, neu drallod dwfn. Y mae cyfeillach yn rhanu gofid, a dyblu llawenydd. Dywed un fod cyfaill ffyddlon yn "eli neu feddyginiaeth einioes." Byddai yn well meddyginiaeth i lawer un prudd, dwys, a digalon, gael cwmni cyfaill da, na dim moddion all gymeryd gan y meddyg goreu yn y wlad. Teimlir yn siriol, hyfryd, a chryf, mewn cyfeillach dda, fel y dywedai un,

> " *We two are a multitude.*"
> " 'Rym ni ein dau yn dyrfa."

Er nad oes yna ond dau mewn rhif, y mae yna dyrfa mewn teimlad. Teimlodd llawer un gywirdeb yr hen ddywediad hwnw, " Amddiffyn cadarn yw cyfaill ffyddlawn." Ond beth bynag a ellir ddweyd am gyfeillgarwch bydol, gellir yn hollol ddibetrus enwi rhai pethau i ddangos rhagoriaeth y berthynas gyfeillgarol rhwng Crist a'i bobl.

1. *Y mae y prawf llwyraf o gywirdeb y cyfeillgarwch yma wedi ei roddi eisoes.* Y mae pob cyfeillgarwch i gael ei brofi. Dalia rhai y prawf, ond metha llawer. Ceir cyfaill dros ei amser ei hun—amser llwydd. Deua y pryd hwnw at eich bwrdd, a bydd yn hyf ar dylwyth eich ty, ac yn llwythog ei glod i chwi, a phawb a berthyn i chwi; ond yn amser trallod, y mae wedi 'hedeg yn ddigon pell, ac ymguddio yn ddigon dystaw. Methodd ddàl y prawf pan ddaeth y trallod. Cyfaill tywydd teg ydoedd. Dylid bod yn ofalus wrth

ddewis cyfeillion, i'w profi yn gyntaf mewn pethau bychain, cyn ymddiried pethau mwy iddynt. Fel y rhydd y merched gofalus ddwfr mewn llestri yn gyntaf, i edrych a wnant ddal hwnw cyn rhoddi modd mwy drudfawr ynddynt. Ond y mae Iesu Grist wedi profi ei hun yn barod fel y cyfaill goreu. "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion." Fe safodd yn ffyddlon i ni yn y dryghin mwyaf; ïe, fe fu farw drosom.

"Dyma gyfaill haedda'i garu,
A'i glodfori'n fwy nag un."

2. *Gellir ymddiried y gyfrinach fwyaf dirgelaidd i'r cyfaill yma.* Dylem ddiolch am rai y gallwn ymddiried cyfrinach iddynt; ond y mae yna rai pethau mor ddirgelaidd yn nglyn â bywyd pawb, nas gellir eu hymddiried i neb ar y ddaear. Nid felly yma. Gallwch dywallt eich holl galon, a datguddio eich holl gyfrinach i'r Cyfaill Iesu. A'r peth goreu a allwn ni wneyd ydyw dweyd pob peth wrtho, ac nid oes dim perygl y gwna fradychu cyfrinach byth. Y mae rhai pethau nad ydynt yn weddus i'w dweyd wrth neb dynion. Ni wn i ddim pa beth yw *confession* y Pabyddion a'r defodwyr. Dywedir llawer wrth y *priest*, na ddywedir wrth neb arall. Peth anweddus iawn, i'm tyb i, ydyw i ferched yn enwedig, i blygu o flaen hen lanciau, ac adrodd eu cyfrinach iddynt! Er iddynt gadw y gyfrinach, y mae yn anweddus iddynt ei derbyn. Eto y mae arnom eisiau rhyw un ag y gellir dweyd y cwbl wrtho. Ac y mae ein Harchoffeiriad mawr ni yn un y gellir gwneyd hyny iddo. Awn ato, a dywedwn yr oll wrtho, ac ni cha yr un sant nac angel byth wybod dim o'r gyfrinach.

3. *Ac y mae hon yn fwy parhaus na'r un.* Torir cyfeillachau dynol weithiau trwy anffyddlondeb, bryd arall trwy bellder ffordd, ac amgylchiadau gwasgedig ac anffafriol, a phob amser trwy farwolaeth. Yr oedd Jonathan a Dafydd yn gyfeillion mawr—"Enaid Jonathan a ymgylymodd wrth enaid Dafydd," ac a'i "carodd megys ei enaid ei hun." Ond pan yr oedd Dafydd yn nghanol llawenydd buddugoliaeth ar yr Amaleciaid, dyma genad yn dod, a'i ddillad wedi eu rhwygo, a phridd ar ei ben, a'r newydd galarus fod ei gyfaill Jonathan wedi ei ladd yn Gilboa. Mor chwerw oedd y newydd i Dafydd—"Gofid sydd arnaf am danat ti, fy mrawd Jonathan: cu iawn fuost genyf fi; rhyfeddol oedd dy gariad tuag ataf fi, tu hwnt i gariad gwragedd." Ond ni ddaw y newydd yna byth am ein Jonathan ni. "Yr hwn wyf fyw," yw efe.

Rhyfedd fel y mae amser a blynyddoedd yn pellhau cyfeillion, ïe, y rhai goreu a fedd y ddaear. Metha rhai ganlyn eraill, fel Barzilai yn rhy hen i ganlyn Dafydd. Ond nid ä neb yn rhy hen i ganlyn ein Dafydd ni i holl wleddoedd a chaniadau ei balas. Nid oes nac angeu na dim a dyr y berthynas hon. Bendigedig i Dduw am dani yn nghanol rhwygiadau a newidiadau y byd hwn. "Cydymaith gâr bob amser" yw hwn, a "Brawd a anwyd erbyn caledi," a "Chyfaill a lyn yn well na brawd." A ydym yn gyfeillion iddo? Dywedir rhyw air parchus iawn am Husai, "A Husai oedd gyfaill y brenin." Pwy o honom ni sydd yn gyfaill i'r Brenin Iesu? Rhaid i ni foddloni i'r amodau os ydym am fod, a dangos trwy ufudd-dod i'w orchymynion. Mor hyfryd fydd y nefoedd—gwlad i'r cyfeillion gwrdd, ac aros am byth yn nghwmni eu gilydd, a chwmni Iesu.

# CYFRES AR OFYNIADAU CRIST.

## Y GOFYNIAD CYNTAF.

"Beth yr ydych chwi yn ei geisio?"—IOAN 1 : 38

Yr oedd Iesu Grist yn wir athraw dyn. Defnyddia bob moddion i'w ddysgu. Ac un o'r moddion hyny yw rhoi gofyniadau iddo. Y mae gan hyn ddylanwad neillduol. Fe welwyd llawer cyfaill a chwmniaeth yn trymhau gan gwsg, neu yn gwamalu oddiwrth y mater gan ddifaterwch, wrth adrodd iddynt ryw hanes, neu draethu ar ryw bwnc; ond y fynyd y gofid rhywbeth iddynt, ail-agorid y llygaid, ac ail-fywiocaid y sylw yn union. Myfi a gaf ddilyn Iesu Grist yn defnyddio y dull yma o ddysgu; gan sylwi ar ddeuddeg o'i ofyniadau.

Gofynwyd gofyniad y testyn i Andreas ac Ioan, dau o frodorion Bethsaida. Dynion cydmarol ieuainc, yn enwedig Ioan, a rhydd oddiwrth ragfarnau yr ysgolion Rabbinaidd. Nid rhyfedd fod Ioan yn cofnodi yr hanes mor fanwl, gan mai dyma ddechreuad ei yrfa bwysig ef fel dysgybl Iesu Grist. Yr oedd Ioan Fedyddiwr wedi parotoi ffordd yr Arglwydd. Tynodd sylw y wlad at y Messiah. Clywyd ei "lef." Sefydlodd ei lygad yn graff a dwys ar yr Iesu, a chyfeiriodd ei fys ato, gan ddywedyd, "Wele Oen Duw." Clywodd Andreas ac Ioan hyn, ac aethant ar ol yr Iesu. Ni wyddent yn iawn gan wyleidd-dra sut i'w gyfarch. Trodd yr Iesu atynt, a gofynodd yn dyner' "Beth yr ydych yn ei geisio?" Awgryma y gofyniad yma,

I. FOD RHYW DDYLANWAD RHYFEDD YN YR IESU I DYNU POBL AR EI OL.

Nid oedd ganddo gyfoeth daearol i roi iddynt, na swyddi gwladol, nac enwogrwydd tymorol. Eto dyma ddau wr ieuanc o dalent a moes yn myned ar ei ol. Y mae yn denu y rhai sydd am oleuni Duw i'r deall, a gras Duw i'r galon, i ddyfod ar ei ol. Dyn o dan argyhoeddiad, edifeiriol am ddrwg, hiraethlon am dawelwch cydwybod, at yr Iesu yr ä o flaen pawb. Denodd filiynau ar ol hyn i ddyfod ato i gael eu cadw. Pan y daw yr enaid yn deimladwy o'i golledigaeth, un ystyriol o farw, byd arall, a'r farn, at yr Iesu yr eir. Y mae rhywbeth yn mherson Crist, yn ei gariad, yn ei eiriau, yn ei esiampl, yn denu pechaduriaid pryderus ar ei ol.

II. EI FOD YN HOLI YN BRYDERUS BETH A GEISIANT.

Y mae yr Iesu yn barod i wneyd sylw o bob ymofynydd am dano. "Beth yr ydych chwi yn ei geisio?" Os oedd eu calon hwynt yn awyddus i fyned ato, y mae ei galon ef yn fwy awyddus i'w derbyn. Y mae rhai o feddwl cyffelyb yn canfod eu gilydd yn fuan. Dywed diareb Arabaidd, "Gwel calonau eu gilydd." Y mae rhyw gydgyfarfyddiad meddyliol rhwng cyfeillion a'u gilydd mewn modd nas gallwn ei esbonio. Fel y clywai yr Iesu swn eu traed tu ol iddo, gwyddai am eu neges. "Yna yr Iesu a droes." Dyma olygfa ardderchog i arlunydd; dyma destyn godidog i fardd. Fel pe y dywedasai, "A oes neb a ddaw ataf fi?" Y testyn yw gofyniad cyntaf Crist fel athraw i'w ddysgyblion. Awr i'w chofio ydyw hon. "Ac yr oedd yn nghylch y ddegfed awr." Barna rhai mai y cyfrif

Rhufeinig sydd yma—felly deg o'r gloch y boreu ydoedd. Tybia eraill yn gryf mai y cyfrif Iuddewig sydd yma—felly pedwar o'r gloch y prydnawn ydoedd. Gan nad faint o'r dydd ydoedd, dyma awr genedigaeth cyntaf-anedigion yr eglwys Gristionogol.

Dyma gysur i ni eto, fod Iesu yn sylwi yn gynt na neb ar ymofynwyr pryderus. Sylwodd ar y wraig yn y dyrfa, sylwodd ar Nicodemus, sylwodd ar Zaccheus, sylwodd ar elusenau Cornelius, ar yr Ethiopiad yn darllen, ac ar weddi gyntaf Saul. Y mae yn awyddus i ni ddyweyd ein hangen wrtho, "Beth yr ydych chwi yn ei geisio"—beth a fynwch chwi?

III. Ei fod yn barod i roi beth bynag a geisia eneidiau pryderus.

Nid holi i wybod ein hangen yn unig a wna, ond holi i roi yr hyn a gyflenwa ein hangen. Yr oedd y ddau yma yn awyddus iawn am gael ei adnabod, a chael ei gymdeithas, a gofynasant iddo, "Pa le yr wyt ti yn trigo?"—p'le yr wyt ti yn byw? Gwahoddodd hwynt yn serchog i ddod i weled, "Deuwch, a gwelwch." Aethant yn llawen gydag ef, ac "arosasant gydag ef y diwrnod hwnw." Yn ei dy, nid ar y ffordd y mae modd i gael ymddyddan tawel, dirwystr, ac agos a'r Iesu. Trwy ddyfod at Iesu Grist y cawn ni y prawf goreu o wirionedd crefydd. Nid ar swn a son yn unig y mae enwogrwydd Crist yn sefyll, ond ar ffeithiau ellir eu chwilio. "Deuwch a *gwelwch.*" Y mae croesaw i bawb eto i ddod; "Deuwch." Y mae calon Iesu yn y gwahoddiad yma, a phan eir i'w dy ceir gweled hyny. "Wele"—*behold,* gwelwch, meddai Ioan Fedyddiwr, a "gwelwch" meddai Iesu Grist; nid rhyw drafodaeth yn y tywyllwch, nid rhyw

gytundeb mewn anwybodaeth, yw crefydd. Os oes arnom eisiau chwalu pob amheuaeth, a chael cyflawn sicrwydd, gadewch i ni fyned at yr Iesu. Datguddia ei hun i ni yn union. Ceir pob peth a geisir gan yr Iesu. Ni chafodd neb erioed ei geisio yn ofer. Ar ol myned ato ef, ni fydd angen, ac ni bydd awydd byth myned at neb arall. O deuwch ato. Perygla rhai eu bywyd i geisio arian, aur, a diamwnt, ond dod i gael bywyd yr ydym wrth ddyfod at yr Iesu. A oes neb yn dod ar ei ol heddyw? Clyw swn eich traed; try atoch; gwna sylw o'ch cais, a cheir pob peth i enaid colledig a phryderus ganddo. Metha dyn roi yn aml ar ol cael gwybod yr angen. Nid felly yr Iesu. Y mae yn werth iddo ofyn i ni heddyw, "Beth yr ydych chwi yn ei geisio?" gael i ni ein hunain ystyried ein hangen yn well.

---

## YR AIL OFYNIAD.

"Oblegid os cerwch y sawl a'ch caro, pa wobr sydd i chwi? oni wna y publicanod hefyd yr un peth?"—MAT. 5: 46.

Un o'r gofyniadau a ofynodd Iesu Grist i'r dorf oedd yn gwrando arno yn traddodi "y bregeth ar y mynydd" yw y testyn. Yr oedd yno rai o bob parth, o wahanol gylchoedd Galilea, o Judea a Jerusalem yn y dê, ac hyd yn nod o lan y môr, o Tyrus a Sidon. Cytunai Deon Stanley â'r traddodiad, mai ar "Horns of Hattin"—dau fryn, a chryn wastadedd rhyngddynt, rhyw daith dwy awr oddiwrth Fôr Tiberias, y cymerodd hyn le. Dyma lle yr oedd yr Iesu yn eistedd ar ymyl craig ddyrchafedig, a'r dyrfa yn eistedd wrth ei draed ar y glaswellt, o dan awyr glir Palestina. Nodwn,

I. Seiliau y gofyniad hwn.

Ymdrinia Iesu Grist ar "ddeddf dialedd." Barnai yr Iuddewon a'r cenedloedd fod yn gyfiawn i ddial am gam a geid. Dysgai cyfraith Moses am gymeryd "llygad am lygad, dant am ddant, llaw am law, troed am droed, llosg am losg, archoll am archoll, a chlais am glais"(Ex. 21: 24, 25). Yr oedd y Saduceaid llym am i hyn gael ei wneyd yn llythyrenol, ond yr oedd y Phariseaid wedi dyfeisio i wneyd iawn am hyn trwy dalu dirwyon (*fines*). Dyma fel y gwneid mewn rhai gwledydd yn y canol oesau. Dirwyid yn ol maint y trosedd am daro dyn ar ei rudd, am dynu gwallt, neu boeri ar berson, neu dynu het neu fonet menyw. Ond y mae egwyddorion Iesu Grist yn dysgu i ni ddyoddef llawer o gam, er mwyn i gydwybod yr un a'i gwna gyhuddo a chadarnhau y cyfryw, a chael ei enill i edifeirwch trwy yr hynawsedd hwn. Yna y mae Crist yn eu harwain i dir uchel iawn mewn cariad. "Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, Cerwch eich gelynion." Yr oedd yno lawer yn meddwl eu bod yn dda iawn, ond caru eu cymydog, ac yn enwedig eu cyfeillion oedd yn eu caru hwythau; ond yr oeddynt yn tybio nad oedd dim drwg mewn casâu eu gelynion. Felly y gwnaent. Casâi yr Iuddewon y Samariaid, y publicanod a'r cenedloedd; casâi y Rabbiniaid yr offeiriaid, a'r Phariseaid y Saduceaid. Ond dyma Iesu Grist yn dysgu gwers newydd hollol iddynt, na ddysgwyd gan Moses, nac athronwyr y cenedloedd—"Cerwch eich gelynion." Dyma gyfnod newydd yn addysg y byd.

*Ein gelynion*—rhai nad ydynt yn dymuno ein lles —rhai a wnaethant ddrwg, neu a wnaent ddrwg i ni

yn ein hamgylchiadau, ein henwau da, ac yn ein teimladau.

*Eu caru*—nid cymeradwyo eu gwaith, nid ymhyfrydu ac nid ymddiried yn eu dybenion a'u cynlluniau, ond tosturio wrthynt, maddeu iddynt, gweddio drostynt, a gwneyd cymwynasau iddynt, bod yn barod i'w derbyn i'n ffafr a'n cyfeillach ar eu hedifeirwch.

*Y mae yn anhawdd iawn.* Ydyw i gnawd; ond i'r hwn sydd yn caru Duw a charu Crist, y mae yn ddichonadwy. Gweddiai Crist dros ei elynion, felly Stephan.

*Y mae dial yn hyfryd.* Y mae maddeu yn fwy hyfryd. Hyfryd i'r galon lygredig yw dial; hyfryd i'r galon sanctaidd yw maddeu.

*Y mae dial yn ddynol.* Y mae peidio yn grefyddol, ac yn fwy anrhydeddus—hyn sydd yn Gristionogol. Felly y mae y gofyniad hwn yn cynwys, A ydych chwi yn caru eich gelynion?

II. ADDEFIAD Y GOFYNIAD. "Os cerwch y sawl a'ch caro."

Yr oedd Crist yn ddigon parod i addef fod yno lawer yn y dorf yn gwneyd hyny. Mewn ystyr y mae hyn yn briodol. Gall fod rhai nad ydynt yn caru y rhai sydd yn eu caru. Y mae pechaduriaid yn casâu Duw, sydd yn eu caru. Ond os caru y rhai hyny yn unig a wnawn, nid yw fawr o beth. Nid yw ond hunan-gariad—cariad *selfish* iawn ydyw. Nid cariad mewn gwirionedd ydyw hyn. Yr ydych wedi gwneyd cylch cariad mor gyfyng, fel nad ydych yn caru nid yn unig eich gelynion, ond nid ydych yn caru neb sydd heb eich caru chwi. Nid yw hyn ond hunanolrwydd, ac nid cariad. Galwa Crist hwn yn

gariad, yr un fath ag y galwa weithredoedd y Phariseaid yn gyfiawnder--ffug gariad, a ffug gyfiawnder.

Yr ydych yn boddloni ar garu eich cymydog, ond nid ydych yn gwneyd hyny; caru rhyw nifer fach o'ch cymydogion yr ydych, dim ond y rhai sydd yn eich caru chwi. Pe clywech eu bod yn dyweyd gair yn eich erbyn chwi, fe fyddech yn wg i gyd yn union. Mewn gwirionedd nid oes genych syniad iawn pwy yw eich cymydog. Ai wrth ymddwyn fel yr ydych at ddynion yr ydych yn cadw y ddeddf, "Câr dy gymydog fel ti dy hun?"

III. GWAWDIAITH Y GOFYNIAD.

"Oni wna y publicanod hefyd yr un peth?"—y dosbarth iselaf a gwaelaf yn eich golwg. Y mae y dynion yr ydych chwi yn eu rhestru gyda lladron, yspeilwyr a llofruddion, a'r cymeriadau mwyaf dirmygus yn y byd, yn gwneyd yr un peth a chwithau. Carant hwy y rhai sydd yn eu caru hwythau. Paham y bostiwch yn eich crefydd, os nad ydych yn gwneyd mwy na hyn? Rhaid codi Cristionogion i dir uwch na hyn. Croesawai y Rhufeiniaid eu perthynasau a'u cyfeillion i'w gwleddoedd. Y mae y Mahometan yn serchog wrth Fahometan. Y mae anrhydedd yn mysg lladron; y mae cydymdeimlad yn mysg meddwon. A foddlona crefyddwyr ar y tir yma?

IV. APELIAD PERSONOL Y GOFYNIAD.

"Pa wobr sydd i chwi?" Am "wobr" y mae eich bryd. Pa wobr a gewch? Pa wobr a gewch oddiwrth eich gelynion? Ni chânt eu toddi mewn gofid, na'u cymodi â chwi wrth i chwi eu casâu. Pa wobr sydd i chwi oddiwrth eich cydwybod? Tystia hono o hyd eich bod yn ymddwyn o'ch lle. Pa wobr oddi-

wrth gymdeithas a gewch? Gwel pawb eich bod yn cadw dig, ac yn gwylio am ddial, ac ofnir gwneyd dim â chwi. Pa wobr sydd oddiwrth Dduw? Yr ydych yn croesi ei gyngor. Dywed ef am i chwi beidio dial, mai efe a bia y dial.

Faint o les a wna crefydd fel yna i neb? Y mae gwersi Crist yn hollol wahanol. Melldithiant hwy, bendithiwch chwi, meddai Crist; casânt hwy, cerwch chwi, meddai Crist; niweidiant hwy, gweddiwch chwi, meddai Crist. Y mae gwobr os cerwch eich gelynion. "Fel y byddoch blant i'ch Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd"—bod yn blant mewn gwirionedd, ac nid mewn enw a phroffes. Cewch eich cydnabod fel plant Duw trwy garu eich gelynion. Y mae eich Tad "yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da." Y fath rodd werthfawr y mae Duw yn roi i'r drwg yn gystal a'r da. Beth pe byddem heb yr haul am ychydig ddyddiau? Cofier fod Crist yn honi mai Duw a bia yr haul —"i'w haul." Cofia Duw am danom trwy *gommandio* yr haul—"peri." Y mae gwreichion tân a goleu y ddaear yn fflachio i fyny, ond pelydrau yr haul yn saethu i lawr. Un enw gan yr Hebreaid ar yr haul oedd "gwas," ac y mae y gwas hwnw trwy archiad ein Tad nefol yn ein gwasanaethu ni. Ac y mae ein Tad nefol "yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn." Bendith annhraethol a geir heb dâl na threth, ydyw y gwlaw. Gwlawia Duw, nid ar y maes gwenith, a'r llwyni rhosynau, ond ar yr anialwch, a'r ysgall, a'r drain. Dysga i ninau wneyd daioni i'r drygionus a'r anghyfiawn, ïe, i'r anniolchgar. "Os oes pechod anfaddeuol yn bod," meddai y Frenines Elizabeth, "anniolchgarwch ydyw." Ond y mae ein Tad ni yn dda-

ionus "i'r rhai anniolchgar a drwg." (Luc 6 : 35.)
Y mae yn bryd i ni ymgodi bellach yn ein crefydd. Ni ddylem foddloni ar fod yn yr un rhych o hyd. Ymestynwn at y nôd : "Byddwch chwi, gan hyny, yn berffaith"—yn gyflawn, crefyddwyr mewn llawn oed, ac nid plantos. Dywedodd tywysog ei fod yn myned yn erbyn ei elynion, ac na adawai i'r un o honynt fyw. Cadwodd ei air trwy wneyd heddwch â hwynt, a maddeu iddynt. Lladdodd yr elyniaeth, fel nad oedd gelyn yn fyw iddo.

---

## Y TRYDYDD GOFYNIAD.

"Pwy o'r rhai hyn a'i câr ef yn fwyaf?"—Luc 7 : 42.

Er mai yn Capernaum y gwnai Iesu Grist ei gartref amlaf, elai ar hyd y dinasoedd cylchynol i ddysgu egwyddorion ei deyrnas, ac i gyflawni ei wyrthiau grasol. Dyma iddo wahoddiad allan o'r ffordd gyffredin i dy Pharisead manwl iawn, hunan-gyfiawn, a chyfoethog. Nid oedd tai y dwyreinwyr mor neillduedig a'n tai ni. Felly daeth pechadures hynod yn y lle i'r ty at yr Iesu. Tra thebyg iddi ei glywed yn dweyd rhyw eiriau bendigedig ar ei bregeth y boreu hwnw, tebyg i'r geiriau hyny, "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Daeth ato yn llwythog o euogrwydd; plygodd wrth ei draed, llifai ei dagrau brwd ar ei draed, sychodd hwynt â'i gwallt hirllaes, ac a'u cusanodd o anwyldeb, ac a'u heneiniodd o barch. Sylwai Simon, y Pharisead, ar hyn oll gyda syndod a gwrthuni. Darllenodd Iesu ei feddwl. Dywedai wrtho ei hun, os nad yn uchel, nad oedd hwn brophwyd, gan ei fod yn ymddyddan â

phechadures warthus, ac yn goddef iddi ei drin fel hyn. Gofynodd yr Iesu iddo ateb gofyniad iddo. Yr oedd dau ddyledwr i'r un echwynwr; yr oedd ar un bum' cant ceiniog, a'r llall ddeg a deugain, a phob un o honynt heb ddim i'w dalu; ac yn ngwyneb hyny maddeuodd iddynt ill dau. "Dywed, gan hyny," meddai yr Iesu, gan ddwyn y ddameg at ei gydwybod yn ddiarwybod iddo, fel Nathan gyda Dafydd, "pwy o'r rhai hyn a'i câr ef yn fwyaf?" Ac atebodd Simon yn synwyrol, ond heb weled yr ergyd yn dod ato, "Yr wyf fi yn tybied mai yr hwn y maddeuodd efe iddo fwyaf." Pob peth yn iawn, "Uniawn y bernaist." Y mae y gofyniad yma yn cynwys pedwar gwirionedd.

I. FOD DUW YN MADDEU I BECHADURIAID MAWRION.

Edrycha Crist yn y fan yma ar Dduw yn y cymeriad o echwynwr. Benthyg yw pob peth daearol sydd genym. Gelwir hwynt yn ol. Benthyg yw iechyd a bywyd, ymborth a dillad, ty a chartref, plant a pherthynasau, a holl ddaioni rhagluniaethol Duw. Yr ydym wedi myned yn mhell i'w ddyled—nis gallwn byth dalu. Ond y mae Duw yn maddeu. "Yr hwn sydd yn maddeu," yw Duw. "Pa Dduw sydd fel tydi yn maddeu?" Cyhoeddodd Iesu Grist faddeuant nes synu yr Iuddewn, a pheri iddynt dybio ei fod yn cablu, am na fedrai neb faddeu ond Duw yn unig. "Ha fab, cymer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau." Rhaid cael maddeuant oddiwrth osodwr cyfraith. Gweithred o ras i gyd ydyw. Nid ydyw edifeirwch a ffydd ond amodau, ac nid haeddianau. "Myfi, myfi, yw yr hwn a ddilea dy gamweddau, er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau." Y mae Duw yn maddeu,

nid ambell bechod, ond pob pechod. Nid maddeu a wna yn unig i fân bechaduriaid, ond i'r rhai gwaethaf, duaf, aflanaf, a hynaf mewn drygioni. Cyhoeddir megis â chloch aur i'r wraig, "yr hon oedd bechadures" fawr, "Maddeuwyd i ti dy bechodau." Y mae y Beibl yn frith o bechaduriaid mawrion wedi cael maddeuant. Darllenais am dad wedi anfon at ei ferch wyllt, ac "*Immediate*" oddiallan i'r llythyr, a "*Ready to forgive*" oddimewn. "Duw parod i faddeu," ydyw ein Duw ni i'r gwaethaf.

II. Fod y maddeuant yma yn cynyrchu cariad yn y maddeuedig at y maddeuwr.

Cyn cael maddeuant y mae yna weithiau galedwch mawr at yr echwynwr—y mae y galon fel yr ia. Ac yn gyffredin y mae yna ddychryn ac arswyd wrth feddwl am dano. Ond y mae maddeuant yn symud y dychryn, ac yn toddi yr ia. "Y mae gyda thi faddeuant, fel y'th ofner,"—ofn o barch a chariad yw hwn. Y mae maddeuant yn symud, nid yn unig y gosb oddiallan, ond yr euogrwydd oddimewn. Gwresogir yr holl serchiadau gan gariad at y maddeuwr. "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Y mae y cariad hwn, (1.) Yn un dwfn; (2.) Yn un didwyll; (3.) Yn un angerddol. Dywedai un o ddychweledigion yr India, "Pe y dywedid fod y nefoedd yn llawn, ac nad oes dim lle i mi yno, eto nis gallwn lai na charu Iesu Grist."

III. Fod amrywiol raddau yn y cariad yma.

"Pwy o'r rhai hyn a'i câr ef yn *fwyaf?*" A dywed Crist am yr un y maddeuwyd iddi, nid yn unig, "Hi a garodd," ond, "Hi a garodd *yn fawr.*" Y mae maddeuant mawr yn cynyrchu cariad mawr, "a'r neb

y maddeuir ychydig iddo, a gâr ychydig." Cyfyd y cariad yma,

1. *Oddiar deimlad fod y ddyled yn fawr.*—Pechu yn ngwyneb goleuni mawr, yn ngafael â breintiau mawr, gan gam-ddefnyddio trugareddau mawr. Pechu yn aml, pechu yn amrywiol. Wrth weled erchylldra y cymeriad, rhyfeddir fod maddeuant wedi ei estyn i'r fath rai, a cherir yn fawr.

2. *Oddiar deimlad o annheilyngdod mawr.*—Simon yn meddwl ei hun yn foesol iawn, a'i wisg yn lân a chyfan. Hithau yn ffieiddio ei hun, ac yn galaru am ei ffordd ddrwg.

3. *Oddiar fwynhad mawr.*—Duw mewn cymod. Y damnio wedi ei symud am byth. Gobaith am gael byw o dan wenau ac yn nghwmni Duw dros byth. Yn ngwyneb hyn oll, pa ryfedd iddi ei garu "yn fawr"

IV. FOD Y CARIAD HWN YN SICR O AMLYGU EI HUN. "Hi a garodd yn fawr,"—nid yn unig hi *a gar.* (1.) Daeth at Iesu Grist i le anhawdd iawn—i dy Pharisead. (2.) Golchodd ei draed a'i dagrau. (3.) Sychodd hwynt â gwallt ei phen. (4.) Cusanodd hwy yn anwyl. (5.) Eneiniodd hwynt ag olew drudfawr. Ni roddodd Simon ddim croesaw iddo. Ni feddai ddim cariad ato.

Y mae y maddeuwr yn agos atom. Pwy sydd am dori trwy rwystrau i fyned ato?

## Y PEDWERYDD GOFYNIAD.

"Pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glan i'r rhai a ofyno ganddo?"—Luc 11: 13.

Yr oedd y Gwaredwr yn awr wedi ymneillduo i weddio, yn dra thebyg yn nghymydogaeth Bethania, ac wedi iddo ddybenu, gofynwyd iddo gan un, os nad rhagor, o'r dysgyblion, i'w dysgu i weddio. Gwnaeth hyny. Dysgodd mai gwaith urddasol oedd gweddio —gwaith penaf meddwl dyn—gwaith y deall, gwaith y galon, a gwaith yr ewyllys. Cyfeiria at ddygwyddiad digon cyffredin yn ngwyneb amgylchiadau y cyfeirir atynt—y naill gyfaill yn myned at gyfaill arall yn y nos i echwyna tair torth. Myned ar adeg annghyfleus—wedi myned i'r gwely, y plant gydag ef, y rhai os deffroid hwynt, na wyddid yn y byd pa bryd y ceid tawelwch gyda hwynt; bron yn min cysgu; yn wir, adeg annymunol iawn ydoedd. Ond curo a thrystio yr oedd y dyn. Yr oedd yn rhaid codi. Darlun o weddiwr taer; "Gofynwch, a rhoddir i chwi."

Cyfeiria Iesu Grist at y teimlad *tadol* sydd mewn dyn. "Os bara a ofyn mab i un o honoch chwi sydd dad, a ddyry efe gareg iddo?" Y mae careg yn debyg i fara, ond nis gellir ei bwyta, ac ni wna un tad ei chynyg i'w-fab. Y mae sarph yn debyg i bysgodyn, ac y mae ysgorpion gwyn, wedi ymblethu, yn debyg i wy, ond nid oes yr un tad a'u cynygia i'w blentyn yn lle pysgodyn neu wy. "Os chwychwi gan hyny, y rhai ydych ddrwg, (dyna gymeriad holl dadau dynolryw), a fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant, pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glan i'r rhai a ofyno ganddo?"

Y mae y gofyniad yma gan Grist yn cynwys,

I. FOD TEBYGRWYDD RHWNG TEIMLAD TADOL DYN A DUW. "Chwi sydd dad, . . . eich Tad o'r nef."

Y mae yr ymresymiad oddiwrth y lleiaf at y mwyaf; oddiwrth y tad naturiol at y "Tad o'r nef." Y mae yna ryw gyfatebiad (*analogy*) rhwng y tad daearol a'r Tad nefol. Y mae yn deilwng o'n sylw mai anfynych iawn y mae hyd yn nod yr Hen Destament, ac yn fwy anfynych na hyny y mae y Testament Newydd, yn defnyddio natur fel arwyddlun i osod allan Dduw. Dyn sydd yn cael ei ddefnyddio i osod allan Dduw, ac yn y fan yma fel Tad. Megys y tosturia tad. "Fel un y dyddanai ei fam ef."

Rhyfedd mor aml ydyw y cyfeiriadau yn y Testament Newydd at Dduw fel Tad. "Ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd." "Tangnefedd oddiwrth Dduw ein Tad ni," (Rhuf. 1: 7). "Yn ol ewyllys Duw a'n Tad ni," (Gal. 1: 4). "Ond i Dduw a'n Tad ni y byddo y gogoniant," (Phil. 4: 20). "Ac os ydych yn yn galw ar y Tad," (1 Petr 1: 17). "Gwelwch pa fath gariad a roes y Tad arnom," (1 Ioan 3: 1).

Ni fuasai yr Ysbryd Glan yn defnyddio yr ymadrodd mor fynych, oni b'ai fod yna ryw feddwl bendigedig yn cael ei gyfleu trwyddo. Mor agos, mor anwyl, mor gylymedig y teimla tad naturiol at ei blentyn. Y mae yn gweled ei hunan yn ei blentyn. Pa faint mwy felly yw Duw fel Tad? Yr oedd breninoedd Persia yn gwneyd eu hunain yn bell iawn oddiwrth eu pobl, ac yr oedd yn anhawdd iawn cael gafael arnynt. Nid felly Duw, neshâ atom fel Tad. Y mae cofio hyn yn gymorth mawr i ni weddio. Nid yw tad

naturiol ond cysgod gwan o gariad diderfyn ein Tad Nefol.

II. FOD YR YSBRYD GLAN YN EI HOLL DDONIAU GRASOL MOR ANGENRHEIDIOL I NATUR YSBRYDOL PLANT DUW AG YW BARA A LLUNIAETH GYNALIAETHOL YN DYMOROL I'N PLANT NI. "Y rhydd eich Tad nefol yr Ysbryd Glan."

Nis gall y plant fyw heb fara a lluniaeth, felly nis gallwn ninau heb yr Ysbryd Glan. Rhaid byw yn gyson o dan ei ddylanwad.

Yr Ysbryd Glan sydd i *argyhoeddi.* "A phan ddêl, efe a argyhoedda. Enyn *ddirnadaeth* gywir am danom ein hunain fel pechaduriaid ger bron Duw. *Mabwysiadu.* "Ysbryd mabwysiad." Efe sydd yn creu teimlad mab yn yr estron, ac y mae yn ernes o'r mabwysiad cyflawn yn mhrynedigaeth y corph foreu yr adgyfodiad. *Tywys*—"Tywysed dy Ysbryd daionus fi i dir uniondeb." "Efe a'ch tywys i bob gwirionedd."

"Tyr'd, Ysbryd sanctaidd, ledia'r ffordd," &c.

*Cyngori.* Mewn achos o bwys y mae dau ddadleuwr, un i gyngori, a'r llall i ddadleu ger bron y llys. Gwna yr Ysbryd ein cyngori, ein harwain, a Christ eiriol drosom yn y nef. *Dysgu i weddio.* "Ysbryd gras a gweddiau." "Yr Ysbryd yn ocheneidio." *Sancteiddio.* Ysbryd Glan—glanhau yw ei waith; ein puro a'n gogoneddu. *Ein selio.* Gosod marc arnom erbyn dydd Crist; fel y masnachwr gyda ei nwyddau, adwaenir hwynt yn mhob gwlad wrth y nôd. *Ein bywyd.* "Na chymer dy Ysbryd sanctaidd oddiwrthyf." Os gwnei hyny, byddaf farw yn llygredig yn y fan. Os na bydd cysylltiad â'r *reservoir,* ni

cheir dwfr i'r tai; ni cheir nwy yma, os na fydd undeb rhwng y pibellau â'r *tank* mawr. Fel hyn y mae yn amlwg fod yr Ysbryd Glan yn angenrheidiol i'n natur ysbrydol. Y mae ein hemynau yn llawn o'r teimlad yma:

"O Dduw, rho im' dy Ysbryd,
Dy Ysbryd ddaw a gwres," &c.

"Dy Ysbryd sy'n goleuo,
Dy Ysbryd sy'n bywhau," &c.

Dyma fel y dywedai yr hybarch John Hughes, Pontrobert:

"I enyn ynom nefol dân,
Duw, anfon dy lân Ysbryd," &c.

A dyma fel yr ysgrifenai yr hybarch W. Griffith, Caergybi, na adnabum erioed ei dduwiolach:

"Disgyn, Iôr, a rhwyga'r nefoedd,
Tywallt Ysbryd gras i lawr," &c.

Y mae gweinidogaeth yr Ysbryd Glan mor angenrheidiol i'r eglwys ag ydoedd gweinidogaeth Crist ar y ddaear, a'i eiriolaeth yn y nef. Crist yw Pen yr eglwys, yr Ysbryd Glan yw ei chalon hi. Nis gall yr eglwys fyw heb yr Ysbryd Glan, mwy nag y gall plant fyw heb fara ac ymborth. Ni cheir bywyd, nerth, na goleuni ynddi, heb yr Ysbryd. Dyma yr "olew euraid" oedd yn nghanwyllbren aur Zechariah. "Pethau da," meddai Matthew; y mae yr Ysbryd Glan yn cynwys pob peth da. Y mwyaf yn cynwys y lleiaf; y ddolar yn cynwys y cent; y dorth yn cynwys y dafell.

III. Fod ymwneyd plant Duw a'u Tad mewn gweddi yn debyg i ymwneyd y plant a'u tad naturiol.

"A ofyn mab i un o honoch?" Y mae y plentyn ar ofyn y tad beunydd. Felly yr ydym ninau i fod ar ofyn Duw yn ddibaid. "Gofynwch, a rhoddir i chwi." Dyna yw gweddi, y credadyn yn teimlo ei wendid a'i eisiau, nes gofyn gan y Tad holl-gyfoethog, anfeidrol yn ei ddaioni, a thosturiol iawn a thrugarog, llawn cariad digrëedig. Fe ofyna y plant i'w tadau naturiol yn effeithiol iawn, yn enwedig pan mewn angen, newyn, neu syched. Sylwais ar un felly yn ddiweddar ar fin dryghin, galwai wrth glwyd yr ardd, gofynai am gymorth ei rieni bob cam o'r llwybr at y ty, ceisiai am nodded cyn i'r drws gael ei agor, curai wrth y drws cauedig gyda y fath drwst a thaerineb gyda ei law a chyda ei droed, a gwaeddai â'i holl lais, fel y mynodd agoriad a gwrandawiad. Gofynwch chwithau gyda'r un penderfyniad a thaerni am yr Ysbryd Glan, a chwi a'i cewch. "Gofyn" yn dangos *angen*, "ceisio" yn dangos *amddifadrwydd*, "curo" yn dangos *rhwystr*. "Gofyn," apelio yn bersonol; "ceisio," gofyn ar ol gofyn; "curo," galw sylw drachefn at y gofyn a'r ceisio. Gofyn â'r galon; â'r tafod y bydd ein plant ni, ond â'r galon y mae plant Duw i wneyd.

"Ysbryd gofyn hyd nes derbyn," &c.

Pob un gyda eu gilydd—gofyn, ceisio, curo, yn dangos ymdrech egniol a thaer i gael yr Ysbryd Glan. O, curwch wrth ddrws trugaredd, blant Duw, heddyw. Y mae hi yn oer iawn allan, y mae newyn yn eich gwedd, y mae fferdod yn eich gwefusau, yr ydych wrth ddrws eich Tad, y mae bara ar y bwrdd yn y ty, curwch. A welwch chwi mewn llythyrenau amlwg ar y ddau ystlys-bost, "Pob un sydd yn gofyn sydd

yn derbyn?" Dacw eto ar gapan y drws, "A'r neb sydd yn ceisio sydd yn cael." A dyna yn union ar y *knocker*, "I'r hwn sydd yn curo yr agorir." O, na chaem weddiau mwy taer. Yn China y maent yn llosgi gweddiau ar bapyr, er mwyn iddynt fyned at eu duw. Trueni meddwl am eu ffolineb, ond gall hyn fod yn ddarlun o weddiau gwresog, teimladwy, yn llosgi o daerineb.

IV. FOD YNA FWY O SICRWYDD Y RHYDD DUW YR YSBRYD GLAN I'W BLANT, NAG Y RHYDD Y TADAU NATURIOL BETHAU DA I'W PLANT HWY.

"Pa faint mwy?" &c. Mwy sicr, mwy parod, mwy helaeth.

1. *Y mae perthynas y Tad nefol yn fwy dyrchafedig a pharhaol na'r tad daearol.*—Perthynas ffurfiwyd yn ddiweddar yw tad naturiol, a bydd wedi ei newid yn fawr yn fuan. Ni ddywedaf ei llwyr ddiddymu—nis gallaf gredu hyny yn hollol, ond bydd wedi ei newid yn fawr yn fuan. Ond am y berthynas a'r Tad nefol, y mae o ran bwriad, arfaeth, a chyfamod, yn dragywyddol; ac nis gall angeu ei thori, na'r bedd ei hoeri, na thragwyddoldeb ei newid. "Pa faint mwy?" A wyt ti yn meddwl fod tad daearol yn fwy ewyllysgar a pharod na Thad tragywyddol? O gofyn, ceisia, a chura, blentyn y Tad byw a thragywyddol. Y mae llawer tad naturiol yn rhy bell i glywed ei blant; a bydd yn aml mewn gwendid a chystudd, nas gall oddef eu swn. Nid felly ein Tad ni.

2. *Y mae cariad y Tad nefol yn anfeidrol fwy na'r tad daearol.*—Fel rheol y mae cariad tad naturiol yn gryf, ond fe welwyd rhai plant wedi ei wisgo allan—ei ddyhysbyddu yn hollol. Ond cymerwch gariad y

tad yn ei fan eithaf, metha yn aml wneyd i'w blentyn yr hyn a garai. Ond pwy all luddias cariad Duw? Dywed Paul nad all dim, ïe, y pethau cryfaf (Rhuf. 8: 38, 39). Cymerwch y peth cyntaf a enwir gan Paul—"angeu." Y mae yn ddigon trech na thad naturiol. Un Cymro a welais i erioed yn cwrdd ag "angeu" trwy "newyn." Dyna fe, druan, mewn ystafell lom ac oer, a'i gwpbwrdd yn wag, a'i draed wedi chwyddo, yn dolefain, "O! beth pe buasai fy nhad a fy mam yn fyw, i'm gweled fel hyn yn marw o newyn!" Ond yr oedd y ddau wedi eu tori i lawr gan angeu. Nis gall angeu gau clustiau, oeri calon, na pharlysu braich dy Dad nefol. Gofyn, ceisia, cura, blentyn Duw. "Pa faint mwy?"

Beth sydd arnoch eisiau, blant Duw, yn y dyddiau hyn? A oes eisiau yr Ysbryd Glan? "Oes yn wir, o waelod ein calon. Y mae arnom hiraeth llosgedig am dano." Chwi a'i cewch, yn wir. Y mae cariad eich Tad mor fawr, fel nas gall oddef i chwi fyw hebddo yn hir eto.

3. *Y mae cymeriad y Tad nefol yn anfeidrol well na'r tad daearol.*—"A chwi yn ddrwg." Drwg yw y tad goreu, ac y mae rhai yn ddrwg iawn, trwy feddwdod, cybydd-dod, ac anonestrwydd. Y mae genym dadau da fel Cymry, rhagor llawer o genedloedd, ond y mae drwg yn gymysgedig a'u da hwythau. Ond dyma Dad da i gyd, da o galon, da o fwriad, a da o ffyrdd a gweithredoedd oll; da ydoedd, da ydyw, a da a fydd byth. Nid oes dim o'i fewn a'i tuedda i newid, ac nid oes dim tu allan a all ei newid. Wel, gofynwch am yr Ysbryd Glan gan Dad perffaith yn ei gariad atoch. Ni roddai gareg i chwi yn lle bara pe y gofynech am

dani, ni roddai sarph pe ceisiech hi, nac ysgorpion pe curech am dani. Y mae yn rhy dda i hyny. "Pa faint mwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glan i'r rhai a ofyno ganddo?"

---

## Y PUMED GOFYNIAD.

" A fyni di dy wneuthur yn iach ?"—IOAN 5 : 6.

Y mae y Gwaredwr wedi bod erys misoedd yn llafurio yn Galilea, a deua yn awr am yr ail dro i'r wyl i Jerusalem. Nid yw yn hawdd penderfynu pa wyl ydoedd. Dadleua Hengstenberg mai y Pasg ydoedd; myn Stier mai y Purim ydoedd, yr hwn a gynelid fis o flaen y Pasg; ond y mae eraill yn barnu mai un ai gwyl y Pentecost neu y Pebyll ydoedd. Tuedda Geikie i adael yr wyl yn anmhenderfynol. Hyny yn ddiau yw y doethaf, er fy mod i yn meddwl mai y Purim neu y Pasg ydoedd. Un o amcanion Iesu Grist yn dyfod i'r gwyliau oedd, cael gweled pobl o bob llwyth, ac o bob parth o'r wlad, ac yn wir o wahanol barthau o'r byd, er galw eu sylw at egwyddorion mawrion ei deyrnas. Yn yr adeg yma rhwng gwahanol wasanaeth y deml, aeth at Lyn Bethesda. Y mae cael hyd i'r llyn yma, a rhoi darluniad o hono, wedi peri cryn drafferth i esbonwyr a beirniaid Ysgrythyrol. Pan yr oedd Jerusalem yn nghanol ei llwyddiant mawr, gwnaed trefniadau celfyddydol medrus i gael cyflenwad o ddwfr iddi. Gwneid cafnau mawrion yn y creigiau i dderbyn y dwfr gwlaw, fel ar adeg o sychder mawr yr oedd yno gyflawnder o ddwfr at wasanaeth y trigolion. Modd bynag gwnaeth

dinystr y ddinas odidog hon gan y Rhufeiniaid, a diffyg gofal y Tyrciaid, wedi iddi ddyfod i'w rhan hwy, gyfnewidiad mawr ar bob peth ynddi. Ond er i'r ffynonau gael eu tagu, a'r llynoedd gael eu claddu o'r golwg, eto y mae ymchwiliadau diweddar yn dyfod a mwy i'r golwg o hyd. Y mae "Ffynon y Forwyn" yn nyffryn Cedron; ac y mae un arall, Ffynon Joab, ar gydiad dyffrynoedd yr Hinom a'r Cedron yn ochr dde-ddwyreiniol y ddinas. Ac yn ddiweddar bernir fod llyn Bethesda wedi ei gael allan yn ymyl ochr ogledd-orllewinol y deml, ac felly yn agos i borth y defaid. Y mae hwn yn 165 o droedfeddi o hyd, a 48 o led, yn nghanol craig ceryg calch.

Ystyr y gair Bethesda yw "Ty Trugaredd," am fod Duw trwy ei drugaredd yn iachau y cleifion amrywiol yma. Yr oedd dynion hael wedi codi pump o *porches* —pendistiau, neu rodfeydd colofnog a tho uwch eu penau, er mwyn cysgodi y cleifion a ddeuent yma i wylio cynyrfiad y dwfr. Edrydd y bedwaredd adnod fod angel yn disgyn ar amserau i gynyrfu y dwfr, ac wrth fyned i mewn y pryd hwnw y cai y cleifion iachad. Myn rhai fod hyn yn annhebygol, a cheisiant gau yr adnod yma allan, am nad ydyw mewn llawer o'r llawysgrifau blaenaf. Nyni a gawn fod y cyfieithwyr diwygiedig wedi ei chau allan. Nid wyf fi yn gweled dim anhawsder i gredu hyn. Os oedd ysbrydion aflan, angylion drwg, yn cael eu goddef yn amser Crist i boeni dynion, p'am na oddefid i angylion da i estyn trugaredd i ddynion?

Beth bynag, y mae Crist yn dyfod o hyd i ddyn claf yma, wedi dyoddef er ys deunaw mlynedd ar hug-

ain, oddiwrth y parlys, neu y gymalwst, fel yr oedd yn methu taflu ei hunan, ac yn methu cael neb arall i'w helpu i fyned i mewn. I hwn y gofynodd Crist y geiriau hyn, "A fyni di dy wneuthur yn iach?" Ceir yma,

I. GYDNABYDDIAETH O GYFLWR AFIACH A THRUENUS Y DYN. " A fyni di dy wneuthur *yn iach*?" Claf, afiach, a dinerth ydwyt. Nid rhyw ffug afiechyd oedd ar y truan. Y mae yr efengyl yn union yr un fath yn cydnabod trueni dyn. Pwy bynag sydd yn gwadu afiechyd enaid dyn, neu yn gwneyd ei gyflwr pechadurus yn ddibwys, yn sicr y mae yn groes i'r Gwaredwr. Dyn afiach yw pechadur yn ol darluniad yr efengyl. Dyn wedi bod yn hir yn afiach, dyn na all byth wella ei hun, na neb arall wneyd, yn mysg ei hiliogaeth ychwaith Y mae pawb yn yr un clefyd. Ni wna un lles iddo i neb wenieithio iddo trwy ddyweyd ei fod yn iach, tra y mae yn y fath gyflwr drwg, ond yn wir gwna niwed mawr iddo. Y mae eisiau meddyg arno. "Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg," Dyma afiechyd truenus yw pechod! Dyma barlys, dyma anystwythder, dyma wendid! Nis gall addoli Duw, na symud i'w wasanaethu, ac y mae yn ddiymadferth at bob dyledswydd sanctaidd. Y mae y gofyniad yma yn swnio yn ddyeithr ar glustiau y dyn sydd wedi bod cyhyd yn glaf, ac wedi cael ei siomi gymaint am iachad. Y mae ar unwaith yn ei gyffroi i ystyried ei sefyllfa.

II. HONIAD O BOB GALLU A PHARODRWYDD I'W WELLA. "A fyni di dy wneuthur yn iach?" Mi allaf fi, ac mi wnaf dy wella, os dewisi di.

Nid oes dim *os* a *phetrusder* ar yr efengyl. Addaw

gwneyd ei oreu y mae y meddyg. Weithiau ymgyfyd yn obeithiol iawn, ond nis gall honi yn anffaeledig. Ond gwyddai Crist y gallai iachau, a gwyr y gall achub eto trwy yr efengyl. Y mae o bwys i ni gael gafael ar y gwirionedd yma—*cyflawn sicrwydd o allu Iesu i achub y pechadur trwy yr efengyl.* Ei achub er ei fod yn hen bechadur, er's namyn dwy flynedd deugain." Ie, a mwy na hyny—y tri-ugain, a'r pedwar-ugain. Ei achub er ei fod yn ddiymadferth. Dim arwydd ei fod wedi edifarhau erioed, ei fod wedi gweddio am fynyd, nac wedi ffieiddio ei bechod trwy y blynyddoedd, gellir ei achub er hyny os daw yn iawn at yr efengyl, neu os cymer ei gyfarwyddo gan yr efengyl. Gall Iesu Grist achub. Nid wyf yn petruso moment am hyn. Nis gall neb na dim arall. Y mae llawer o bethau wedi bod yn foddion i ddyfod a miloedd at Iesu Grist i gael eu hachub, ond nis gallent achub eu hunain. Achubwr yw Crist—iachawdwriaeth yw yr efengyl. Ni fethodd Crist erioed, ac ni fetha byth.

Meddyliwch y fath ofyniad cas a chwerw o siomedig a fuasai hwn i'r truan claf, pe buasai Iesu Grist yn gorfod dywedyd wedi y cwbl—"Y mae arnaf ofn na fedraf dy iachau di byth?" Na, y mae hwn yn ofyniad teilwng o Bethesda—"ty trugaredd." Teimla yr Iesu fod y gallu a'r awdurdod ganddo. "Ty trugaredd" yw pob addoldy yn ein gwlad, lle y cyhoeddir yr iachawdwriaeth trwy yr efengyl. Y mae gobaith i'r penaf o bechaduriaid. Nid oes dim gwendid, na nychdod, na rhwd ar yr efengyl. Fe all Crist achub pob pechadur trwy yr America, a thrwy y ddaear i gyd. Yr wyf am i bawb ddeall yn glir, y gall Iesu Grist achub. Deued rhyw un a *charge* i'r farn yn fy erbyn

os nad ydwyf yn dyweyd y gwir am hyn. Nid cellwair a chwi y mae y gwr a fu ar Galfaria. "A fyni di dy wneuthur yn iach?" Y mae yn dyweyd wrth ofyn, y gall dy iachau. Nid gofyn mewn gwawd, nac mewn ffurf oer y mae, ond mewn gwir awydd am dy iachau. Nid yw dy gyflwr yn waeth nag y mae efe yn gwybod; gwyr am faint dy bla, am ddyfnder gwreiddiau dy bechod, am feithder y blynyddoedd yr wyt wedi bod yn ngafael dy afiechyd, ac eto gofyna yn dirion a hyderus, "A fyni di dy wneuthur yn iach?"

III. MAI ANEWYLLYSGARWCH Y DYN EI HUN FYDD YR UNIG RWYSTR I'W IACHAD.

"A *fyni* di?" Os ewyllysi di, mi allaf fi. Er fod lle gogoneddus i arfaeth ac etholedigaeth Duw yn nhrefn gras, nid oes un rhithyn o le i gredu fod Duw erioed wedi gwrthod cymaint ag un pechadur ddaeth ato ef gan wir ddymuno cael ei gadw. Ond y mae yn ffaith dorcalonus, fod miloedd o ddynion wedi gwrthod cymeryd eu hiachau. Dyna brofiad y prophwydi a'r apostolion; dyna brofiad cewri y sasiynau a'r cymanfaoedd; dyna brofiad miloedd o weinidogion ar derfyn pob Sabboth. Ar ddyn y mae y bai na chymerai ei achub, ac y mae yn deg dyfod a'r bai i'r lle y perthyna.

Y mae yma ryw awgrymiad fod ewyllys y dyn wedi myned yn farwaidd a chysglyd, ar ol cael ei siomi cyhyd, a gweled dim arwyddion y daw yn well. "A fyni di?" mewn gwirionedd. A wyt ti wedi rhoi i fyny ddysgwyl a gweddio am iachad? Y mae rhyw swn digalondid a llwfrdra, os nad anobaith yn llais y dyn. Troa i achwyn ar eraill, ac i gwyno arno ei hun, yn lle ateb yn union ei fod am gael iachad.

Buasai miloedd ar filoedd yn ngwlad efengyl wedi cael iachad er ys blynyddoedd, pe y buasent yn ewyllysio; yn nghyndynrwydd ewyllys dyn y mae y bai. Pa fodd yr wyt ti yn teimlo? A *fyni di* dy wneuthur yn iach?"

Cafodd y dyn iachad. "Cyfod," meddai Iesu wrtho, a dyna daran trugaredd yn siglo gwreiddiau ei afiechyd. "Cymer dy wely i fyny"—gwybydd di, a gwybydded eraill wrth dy weled yn cario dy wely, yn lle fod dy wely yn dy gynal di, dy fod wedi cael iachâd. Edliwiai gelynion Crist ei fod yn cario ei wely, a bydded y gelynion yn dystion o'i iachad. "Rhodia" —gwna ddefnydd o dy nerth newydd, ac eto bydd yn ofalus—cerdda yn wyliadwrus. "Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn iach." Dyma gyfnewidiad bendigedig. "A'r Sabbath oedd y diwrnod hwnw"—Y mae myrddiynau wedi cael iachad ar y Sabboth. Boreu Sabboth, mor druenus ag erioed; cyn diwedd y dydd, wedi eu hiachau am byth.

Cafodd Iesu Grist afael ar y dyn wed'yn yn y deml. Wedi myned yno i ddiolch i Dduw. Ymddygiad priodol iawn. Dywedodd wrtho, "Wele ti a wnaethpwyd yn iach"—peth newydd iawn i ti am ddeunaw-mlynedd-ar-hugain. Cymer ofal bellach, "Na phecha mwyach, rhag dygwydd i ti beth a fyddo gwaeth." Ai tybed nad yw hyn yn awgrymu, mai trwy bechod y cafodd yr afiechyd hwn? Ond y mae yn sicr ei fod yn awgrymu fod rhywbeth *gwaeth* na bod yn glaf am ddeunaw-mlynedd-ar-hugain! Pechod yw yr afiechyd gwaethaf. Gochelwn ef. Na phechwn mwyach.

## Y CHWECHED GOFYNIAD.

"Canys pa lesâd i ddyn, os ynill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?"—MATTHEW 16 : 26.

Y mae y gofyniad yma wedi ei ofyn mewn argyfwng pwysig yn hanes Iesu Grist. Yr oedd wedi ymadael a'r parthau y gwnaeth fwyaf o weithredoedd nerthol ynddynt. Ymchwerwai y Rabbiniaid yn fwy yn ei erbyn o hyd, ac ymunai y Phariseaid a'r Saduceaid. Wrth ymadael a'r ardaloedd hyn tywallta yr ocheneidiau dwysaf uwch eu pen, "Gwae di, Chorazin." Fel yr elai o Capernaum i'r cwch yn mis Hydref, teimlai yn ddwys o herwydd caledwch ac anghredin-iaeth y rhai a gawsant y fath freintiau. Rhwyfwyd i Bethsaida, ac oddiyno i Cæsarea Philippi, yn ngogledd eithaf Palestina. Yma yr oedd o gyraedd cenadau yr archoffeiriaid. Yr oedd, oddiar y llethrau uchel yma, yn gallu cael golwg ar yr holl wlad. Ymneillduodd i un o'r coedwigoedd gerllaw i weddio. Daeth yn ol at y dysgyblion i'w holi yn fanwl, a'u dysgu yn agosach yn egwyddorion ei deyrnas. Cyfeiriodd yn eglur at ei ddyoddefiadau. Dangosodd fod yn rhaid iddo ef a'i ganlynwyr aberthu esmwythder, mwyniant, ac hyd yn nod bywyd, er mwyn cyraedd amcanion ei deyrnas. Symia y cwbl i fyny mewn gofyniad cryf a thrydanol, "Pa lesâd i ddyn, os ynill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?" neu yn ol y cyfieithiad diwygiedig, "a fforffetio ei fywyd." Sylwn,

I. FOD DYN YN MEDDU RHAN ANNHRAETHOL WERTHFAWR.—"Ei enaid ei hun," neu "ei fywyd."

1. *Dyma yr hyn sydd yn ei wneyd yn ddyn.*—Def-

nyddir yr ymadroddion "bywyd," ac "einioes," yn gyfystyr ag "enaid." Ac y mae Luc yn defnyddio yr ymadrodd "ei hun," am yr un peth—"Canys pa lesâd i ddyn, er enill yr holl fyd, a'i ddyfetha *ei hun?* neu fod wedi ei golli?"—*colli ei hun.* Gall dyn golli ei lygad, ei glust, ei aelod, neu ei synwyrau, ond nid yw wedi colli "ei hun" wed'yn; ond y mae colli yr enaid yn ei "ddyfetha ei hun."

2. *Dyma ei ran fewnol.*—Oddiallan i ddyn y mae cyfoeth, a meddianau, ond oddifewn y mae yr enaid. Nis gellir gwahanu dyn oddiwrth yr enaid. Ewch a'r enaid, a dyna chwi yn myned a'r bywyd.

3. *Dyma ei ran anfarwol.*—Y mae yr argraff ar feddwl y cenedloedd mwyaf gwareiddiedig fod yr enaid yn anfarwol.

4. *Dyma y rhan y mae y frwydr fwyaf yn ei chylch.*—Y mae nefoedd ac uffern mewn brwydr am yr enaid. Y mae Satan fel sarph yn denu, ac fel llew yn rhuo am yr ysglyfaeth yma. Dros yr enaid y bu Crist farw, achub yr enaid ydyw amcan ei eiriolaeth; i gyraedd hyn y mae gwasanaeth yr angylion, ac ymdrechion caled a ffyddlon gweinidogion Crist a'i bobl.

II. Fod perygl mawr i ddynion golli yr enaid wrth geisio enill y byd.—"A cholli ei enaid ei hun."

Beth yw colli yr enaid? 1. Colli cymeriad da yr enaid. 2. Colli gwynfyd a gwir fywyd yr enaid. 3. A cholli pob gobaith am adferiad am byth. Collwyd bachgen yn yr eira, ond gwaeddai nerth ei lais, "*Lost, lost, lost!*" a chlywodd rhywun ef, a gwaredwyd ef. Nid felly gyda yr enaid colledig.

Pa fodd y collir yr enaid? 1. Wrth ymlynu yn

mhechodau y cnawd a'r byd. Pesgi erbyn dydd y lladdfa. 2. Trwy ymwerthu i anrhydedd a chyfoeth y byd. Y gwr ieuanc a da lawer ganddo, a'r amaethwr cyfoethog. 3. Trwy wrthod moddion cadw; gwrthod Iesu Grist fel Ceidwad; esgeuluso crefydd; osgoi ei chroesawu; pallu cyflawni ei dyledswyddau; dewis byw hebddi.

III. YR YNFYDRWYDD MAWR O HYN.—"Pa lesâd?" Nid yw yn llesâd i neb, mewn un ystyr. Colled i gyd ydyw.

1. *Pe y llwyddid i enill y byd hyd yr eithaf, ni byddai ond colled wedi hyny.*—Nis gellid mwynhau y byd wedi colli yr enaid. Beth a fedrai dyn fwynhau ar y golygfeydd harddaf mewn natur, a'r darluniau mwyaf godidog mewn celfyddyd, wedi colli ei ddau lygad? Pa les a fyddai anrhydedd uchaf y byd, meddianau a mwynderau y byd hyd yr eithaf? Dim heb heddwch Duw, dim heb dawelwch cydwybod, dim heb fywyd yr enaid. Dim i arbed rhag colyn angeu, dim i ochel uffern, dim i gymwyso i'r nef. Pa gysur i'r fam a adawodd ei phlentyn yn y cryd, pan y torodd tân allan yn ei thy, iddi gael ei *jewels*, pan y collodd ei phlentyn?

2. *Colled drwyadl a fydd hon.*—Colli y corph a'r enaid. Colli y byd a'r nefoedd. Colli mwyniant amser a thragwyddoldeb. Er colli y cyfoeth, gall yr iechyd aros; er colli y ty, gall y teulu aros. Ond os collir yr enaid, dyna bobpeth wedi ei golli. Colli yr enaid nas gall farw, nas gall anghofio, nas gall ddianc oddiwrtho ei hun. Fe wneir rhywbeth o holl golledion y ddaear, ond dim wedi colli yr enaid. Colli y llong, a cholli y *cargo*, a cholli yr *owner*, yw colli yr

enaid. Pa *insurance* yn y byd a all sefyll y golled yma ?

3. *Colled anadferadwy yw hon.*—" Pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid ?" Nis gellir byth wneyd y golled hon i fyny. Nid oes dim yn gyfartal i'r enaid ? Pa bris cyfnewid (*counter-price*) a roddir am yr enaid ? Beth pe byddai i bawb ildio eu *claim* ar y byd i un dyn, fel y byddai ganddo *title deed* am y ddaear bob darn i'w gynyg er gwaredu ei enaid ? Rhy fach wed'yn a fyddai y cyfnewid. Beth a rydd y *bankrupt* a gollodd ei enaid yn gyfnewid? "*Os* enill," yw hwn, cofier ; "os" o amheuaeth drwyddo ydyw.

Onid oes yma alwad am wneyd mwy o ymdrech dros gadw yr enaid ? Yfa y dyn o gwpanau y byd, ond sychedig yw yr enaid. Gwledda ar fwrdd y byd, ond gwag yw yr enaid. Paham y trafferthir gyda y byd, a cholli yr enaid. Pa reswm yw trafferthu am y *cent*, tra y mae yr ydlanau, y ty, a'r eiddo mawr yn llosgi yn llwyr ? A beth well yw i'r dyn pe yr arbedid ei dy rhag difrod y tân, ac efe ei hun yn cael ei golli ? Fforffetio y bywyd yw ynfydrwydd penaf yr oesau.

---

## Y SEITHFED GOFYNIAD.

"Beth a dybygwch chwi am Grist ?"—MAT. 22: 42.

Dyma ni yn awr gyda Christ yn nechreu yr wythnos y bu farw. Yr oedd wedi darfod ei deithiau, a dyfod i Jerusalem i farw. Teimlai yr awdurdodau a'r dysgawdwyr yn ffyrnig ato. Ceisient ei rwydo bob ffordd. Anfonai yr Herodianiaid ato yn nghylch talu

teyrnged i Cæsar. Pe y llwyddasai y rhai hyny yn eu hamcan, buasai y gwleidyddwyr yn gafael ynddo i'w gospi, ac felly cawsai y swyddogion crefyddol eu harbed rhag ymosod arno. Ond methodd y rhai hyny. Methodd y Saduceaid a'r Phariseaid hefyd. Cydnebydd ambell un o rengoedd ei elynion ei allu. Teimla y werin ei fod yn Brophwyd, os nad yn Fessiah. Trodd yr Iesu at gynulliad o'r Phariseaid i ofyn iddynt, "Beth a dybygwch chwi am Grist?"—am y Messiah? "Mab i bwy ydyw?" Ac atebent yn union, "Mab Dafydd." Pa fodd y mae Dafydd, yn y ddegfed Psalm wedi'r cant, "yn ei alw ef yn Arglwydd?" Gwasgodd y gofyniad atynt yn y fath fodd ag y gallasent ei dderbyn fel Messiah yn y fan, pe y buasent yn dewis. Dyma ofyniad dwys, agos at bob un, a rhwydd iddynt ei ateb yn ngwyneb y manteision a gawsant.

Deua gofyniad y testyn gyda mwy o rym atom ni, sydd wedi cael y fath fanteision i'w adnabod. Yr ydym wedi clywed, gweled, a darllen cymaint am dano. Awgryma y gofyniad yma bedwar o bethau:

I. Fod Crist yn destyn teilwng o astudiaeth fanylaf ac uchaf meddwl dyn.

"Beth a *dybygwch*"—*think ye?* Beth ydych yn feddwl am Grist? Yn ol fel y meddyliwn y gweithredwn ato. Nis gallwn ymddwyn yn deilwng at Grist heb feddwl rhywbeth am dano. Nid rhyw berson dychymygol ydyw. Cydnabydda Strauss, o Germani, a Renan, o Ffrainc, ei fod yn berson gwirioneddol, er y gall llawer o bethau yn nglyn a'i hanes fod yn ddychymygol. Y mae ei hanes yn ddyddorol i feddwl am dano. Nis gall yr un llenor a thipyn o

barch i'w safle lenyddol lai na theimlo dyddordeb yn ei hanes. Nis gall neb heb anmharchu ei hun ei *ignorio.* Y mae "mab y saer" wedi dyfod yn fwy adnabyddus na Cæsar. Y mae y brenin meddyliol enwocaf a fu yn y byd. Nid yn unig y mae y rhai a'i pleidiant yn dangos ei fod yn berson gwerth meddwl am dano, ond y mae ymroad ei elynion i wrthweithio ei addysg yn brawf o hyny.

Y mae ei gymeriad hefyd yn deilwng o astudiaeth ein meddwl. Ond meddwl yn iawn am dano, ceir rhyw swyn anarferol yn ei gymeriad hyd heddyw. Pa feddwl sydd mor ddiafael nad yw yn cael ei gyffroi drwyddo wrth ddarllen am dano yn porthi y miloedd newynog, yn dysgu y torfeydd gydag awdurdod ganddo, yn traethu dameg y mab afradlon, yn ymweled â chwiorydd amddifaid, yn iachau cleifion, cloffion, a deillion, ac yn bwrw allan gythreuliaid—yn adgyfodi y meirw, yn parhau yn ffyddlon i achos dyn er cael ei erlid yn fwyaf llidiog, ei fradychu gan Judas, a'i wadu gan Pedr—yn eiriol dros droseddwyr, ac yn marw dros ei elynion? Dyma un oedd yn gallu gwneyd *cathedral* o fynydd, a phwlpud o glogwyn, ac yn gallu gwneyd ystafell weddi o ogof ac o lwyni coed. Pan y meddyliom am ei sylw o'r tlawd, ei gerydd i'r cyfoethog, ei dynerwch a'i ofal am ei fam yn ei loesau gwaedlyd, y mae ei gymeriad yn swynol uwchlaw darluniad. Yr oedd pan yn blentyn yn cyffroi brenin; yr oedd pan yn fachgen yn synu doctoriaid, ac yr oedd pan yn ddyn yn brif destyn meddwl y byd, y nefoedd ac uffern.

II. FOD Y BYD YN RHANEDIG IAWN EI FARN AM DANO. "*Beth* a dybygwch chwi?"

Gofynodd Crist i'w ddysgyblion ar ol dychwelyd o'u teithiau, ar ol ymweled â'r wlad wrthynt eu hunain bob yn ddau a dau, "Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i, Mab y dyn?" Ac atebasant iddo, "Rhai, mai Ioan Fedyddiwr, a rhai mai Elias, ac eraill mai Jeremias, neu un o'r prophwydi." Pob un yn cydnabod ei fod yn gymeriad hynod, ond heb gael golwg iawn arno. Yna trodd at y dysgyblion, a gofynodd iddynt, "Ond pwy meddwch chwi ydwyf fi?" A dyma Pedr yn ateb, "Ti yw y Crist, Mab y Duw byw." Barnai rhai mai dyn cyffredin ydoedd: "Onid hwn yw mab y saer? onid Mair y gelwir ei fam ef? a Iago, a Joses, a Simon, a Judas, ei frodyr ef?" "Efe a gablodd, clywsoch ei gabledd," meddai yr archoffeiriad. "Y mae efe yn euog o farwolaeth," meddai y cyngor am dano. "Y twyllwr hwnw," meddai yr archoffeiriaid a'r Phariseaid am dano. Ond rhyfedd mor gymysglyd yw y barnau am dano. Gofynai Pilat gyda llymder i'r Iuddewon, "Pa ddrwg a wnaeth efe?" Tystiai yn gryf, "Nid wyf fi yn cael dim bai yn y dyn hwn." A golchodd ei ddwylaw ger bron y bobl, gan ddywedyd, "Dieuog ydwyf fi oddiwrth waed y cyfiawn hwn." Ond mynwyd ei groeshoelio fel teyrnfradwr. Ac eto y mae y canwriad oedd yn gwylio yr Iesu ar y groes yn tystio yn ddifrifol am dano, "Yn wir, Mab Duw ydoedd hwn." Rhanedig iawn yw barn y byd hyd eto am dano. Nid ydyw yn cael ei oganu fel y bu. Siarada anffyddwyr, ac hyd yn nod Iuddewon, yn rhyfeddol o barchus am dano. Myn rhai mai dyn galluog o dalent ac athrylith ydoedd, a phur a hunan-ymwadol o gymeriad, ond nad oedd ddim mwy na dyn. Gwna rhai ef yn rhyw is-

dduw, yn brif genad Duw. Tystia eraill fod corph dynol ganddo, ond mai ei dduwdod oedd yn sefyll yn lle enaid dynol ynddo. Ond y mae miloedd ar filoedd yn credu yn onest ei fod yn wir Dduw ac yn wir ddyn. "Beth" yw ein barn ni yn nghanol y fath lu o farnau?

III. Ei fod yn cael ei gyflwyno i'n hystyriaeth fel Eneiniog addawedig Duw.

"Beth a dybygwch chwi am Grist?" y Messiah addawedig, "ei Grist ef," "Crist Duw," "Crist gallu Duw," "Crist Mab Duw." Un a etholwyd, a neillduwyd, ac a eneiniwyd gan Dduw i gymeryd i fyny ynddo ei hun yr holl swyddau cyfryngol. 1. Prophwyd i'n dysgu yn llawn, a chydag awdurdod. 2. Offeiriad i offrymu ei hun—un aberth mawr digonol a thragywyddol, ac i fyw i eiriol drosom yn y nef. 3. Brenin i lywodraethu pob calon, a'i holl eglwys.

Y mae efe yn ddigon mawr i ddal yr holl urddas y mae Duw wedi roi arno fel ei "Grist." Y mae cyfuniad y ddwy natur yn ei berson yn ei wneyd felly. Llwyr foddlonodd y Tad, nes yr eneiniodd ef i'w holl swyddau. Fel "Mab Duw," y mae yn ogyfuwch a'r Tad, ac fel "Mab y dyn" y mae yn frawd cymwys i bob dyn yn mhob oes a chenedlaeth. Duwdod Crist sydd yn rhoi rhinwedd i'w farw, cadernid i'w addewidion, nerth i'w eiriau, grym i'w eglwys, a bywyd i'r saint. Dynoliaeth Crist sydd yn ei wneyd yn agos atom ni, i gydymdeimlo â ni fel brawd, i ni ymddiried ynddo fel cyfaill, ac i ni i ddilyn ei esiampl fel blaenor.

IV. Fod dysgwyliad i'r rhai sydd wedi cael y manteision goreu i'w adnabod, i feddu y syniad cliriaf am dano.

"Beth a dybygwch *chwi* am Grist?" Cafodd cydoeswyr Crist fanteision neillduol i'w adnabod, ond yr ydym ni wedi cael mwy na hwythau. Nyni blant yr Ysgol Sabbothol, nyni hiliogaeth i rieni crefyddol, nyni fagwyd yn ngwlad efengyl, nyni sydd wedi clywed ei bregethu mewn sasiynau a chymanfaoedd, ac o bwlpudau llawn o dân cariad ato, er pan yr ydym yn cofio dim. Y mae yr Affricaniaid yn dechreu ffurfio barn am dano; y mae miloedd yn India, China a Japan, yn dywedyd yn ddifloesgni pwy ydyw; ond "Beth a dybygwch *chwi*" am dano? Gadewch i ni eich cael chwi i feddwl am dano. A ydyw yn haeddu cael ei garu fel person genych chwi? A ydyw ei swyddau cyfryngol yn ateb eich angen chwi? A ydyw ei fywyd yn esiampl wrth eich bodd chwi? A ydyw ei groes yn destyn eich ymffrost chwi? A ydyw yn Geidwad digonol i chwi? A ydyw ei achos yn werth ei arddel genych chwi? A ydyw ei ogoniant yn y nef yn llawenydd genych chwi? A ydych chwi yn ei wrthod, neu a ydych chwi yn ei dderbyn?

I chwi yr ydwyf yn gofyn. Gwn beth a ddywedodd y merthyron am dano; gwn beth a ddywedodd rhieni rhai o honoch am dano; gwn beth y mae Duw yn ddyweyd am dano; ond nis gwn eto beth a ddywed rhai o honoch chwi am dano. Gwn beth yw barn rhai o honoch chwi am ambell i dôn, ac ambell i emyn, ac ambell i weddiwr, ac ambell i bregethwr; ond "beth a dybygwch chwi am *Grist?*" Mi a ofynaf y cwestiwn yn onest, eglur, a dwys i chwi; ni chewch fyned i'r farn heb ei glywed drachefn a thrachefn genyf, "Beth a dybygwch *chwi* am Grist?" Y mae cyn Abraham, y mae yn Arglwydd Dafydd, y mae yn fwy na Solo-

mon, y mae yn frenin angylion, yn anwylyd y saint, ac yn Fab Duw; ond "Beth a dybygwch *chwi*" am dano?

---

## YR WYTHFED GOFYNIAD.

"A wyddoch chwi pa beth a wnaethum i chwi?"—IOAN 13 : 12.

Dyma ofyniad Iesu Grist i'w ddysgyblion wedi golchi eu traed cyn swper y Pasg yn yr oruwch-ystafell. Teimlai ef fod ei "awr"—awr hynod a byth-gofiadwy ei farw, wedi dyfod. Teimlai ei galon yn llawn cariad at ei ddysgyblion—"efe a'u carodd hyd y diwedd." Gan nad mynwes pwy sydd yn oeri, nid yw mynwes Iesu. Deuai Crist i'r ystafell gyda'r difrifwch mwyaf, ond deuai y dysgyblion gyda chryn raddau o uchelgais. Glynent hwy i fesur helaeth wrth eu hen syniad am deyrnas dymorol y Messiah, ac yr oedd yn gryn bwys gan rai o honynt beth bynag am y lle a gymerent wrth y bwrdd, rhag y buasai hyny i effeithio ar eu safle yn y deyrnas newydd a dybient oedd ar gael ei sefydlu. Nid oedd neb yn barod iawn i wneyd rhan y gwas o olchi y traed cyn swper, fel yr arferid gwneyd. Ar hyn dyma Iesu Grist ei hun yn ymgodi oddiar yr orweddfa, gan roi heibio ei fantell uchaf ei "gochl-wisg," ac efe a drodd dywel fel gwregys o'i ddeutu, ac a dywalltodd ddwfr i'r cawg, ac a olchodd draed ei ddysgyblion, fel yr estynent hwynt allan oddiar eu glythau y naill ar ol y llall, gan eu sychu â'r tywel, Wedi gorphen hyn, a rhoi ei gochl-wisg yn ei hol, a myned i'w le wrth y bwrdd, gofynodd eiriau y testyn. "A wyddoch chwi pa beth a wnaethum i chwi?" Pâr y gofyniad yma iddynt feddwl drachefn am yr hyn a

wnaeth, a cheisient ddyfalu beth ydoedd yr amcan. Dysgir yma ddwy egwyddor bwysig yn nglyn a theyrnas y Gwaredwr yn y byd.

I. FOD CYMERIAD GLAN YN ANGENRHEIDIOL YN NGLYN A CHREFYDD CRIST. "A wyddoch chwi pa beth a wnaethym?"

Y mae yn anhawdd gwybod gyda pha un o honynt y dechreuodd. Barna rhai mai gyda Judas. Dyma gymeriad aflan eisiau ei olchi. Gallesid gwneyd hefyd pe y buasai yn ceisio yn iawn. Tybia eraill mai gyda Ioan. Er glaned ydoedd, yr oedd eisiau ei olchi. Barna eraill iddo ddechreu gyda Phedr. Os na ddechreuodd gyda ef, daeth ato modd bynag. Gofynodd y dysgybl gwresog a phur fyrbwyll hwn iddo, "Arglwydd, a wyt *ti* yn golchi fy nhraed *i*?" Rhoddai bwyslais a'r y "*ti*" a'r "*i*". Rhyfeddu fod y fath Athraw yn golchi ei draed ef. Ymddyddana Iesu yn dyner ag ef, a dengys nad oedd yn deall y pryd hyny p'am y gwnaed; ond dywedai yn galonogol wrtho, "Ti a gei wybod ar ol hyn." Barnai Pedr nad oedd hyn yn weddus i athraw olchi traed y dysgybl, a dywedai yn ei fyrbwylldra, "Ni chei di olchi fy nhraed i byth." Rhaid i Pedr ymbwyllo. "Oni olchaf di, nid oes i ti gyfran gyda myfi."

Dyma i ni arwyddlun o lanhad oddiwrth bechod, a'r angenrheidrwydd am dano. Bu Pedr yn teimlo oddiwrth ei aflendid pan y syrthiodd ger bron yr Iesu amser y ddalfa fawr o bysgod gynt, ac y gwaeddodd, "Dyn pechadurus wyf fi, O Arglwydd." Y mae llawer ar ol Pedr wedi darllen gweddi ddifrifol Dafydd, "Golch fi yn llwyr-ddwys oddiwrth fy anwiredd, a glanhâ fi oddiwrth fy mhechod."

Y mae atebiad Crist i Pedr wedi cyraedd i fyw ei galon, "Oni olchaf di, nid oes i ti gyfran gyda myfi." Os felly, meddai Pedr, "Arglwydd nid fy nhraed yn unig, eithr fy nwylaw a'm pen"—golcha Simon Pedr i gyd, yr wyf yn aflan o'm pen i'm traed. Nid oes eisiau rhyw olchi mawr â dwfr arnat—"yr hwn a olchwyd, nid rhaid iddo ond golchi ei draed, eithr y mae yn lân oll." Y mae y goreu yn diwyno ei draed yn llwch y byd. "Ni adawa y diafol i'r un sant fyned i'r nef a thraed glân," meddai Luther. Ond nis gallwn ni olchi y llwchyn lleiaf heb gymorth Crist. Nid rhaid ond gofyn am gael ein golchi, na chawn yn union. Ofer ceisio mwynhau y swper gyda Christ ar y ddaear, n'ai wleddoedd yn y nef, heb gymeriad glân.

II. FOD GOSTYNGEIDDRWYDD YN HANFODOL I AELODAU EGLWYS CRIST.

"A wyddoch chwi pa beth a wnaethum i chwi?" A wyddoch chwi fod yn ddyledswydd hanfodol arnoch i garu, parchu, a gwasanaethu eich gilydd. "Yr ydych chwi yn fy ngalw i yr Athraw, a'r Arglwydd; a da y dywedwch, canys felly yr ydwyf"—yr ydych yn iawn, yr ydwyf yn bob un o'r enwau yna. Cymerwch wers, "Chwithau a ddylech olchi traed eich gilydd." Er fod gwaith Iesu Grist yn golchi traed ei ddysgyblion yn fil myrdd mwy o ddarostyngiad, na phe buasai yr angel uchaf yn y nef yn dyfod i lawr yn bwrpasol i wneyd hyny; er hyny, gwnaeth ef hyn er dysgu ei ddysgyblion gynt, a ninau yn awr, mor bwysig ydyw gostyngeiddrwydd yn ei eglwys. Nid wyf mewn un modd am oganu y rhai sydd yn golchi traed eu gilydd yn llythyrenol, ond rhaid dweyd yn onest y gellir gwneyd hyny heb ddysgu y wers fawr a ddysgai Iesu

Grist. Cyfeiria Paul at rai yn "golchi traed y saint" yn llythyrenol (1 Tim. 5 : 10). Yr oedd hyny yn wasanaeth angenrheidiol yn y Dwyrain boeth, a gall fod mewn amgylchiadau arbenig eto gyda ni yn angenrheidiol. Ond nid dyma yr oll sydd yn y wers. Yr egwyddor fawr yw, "Cerwch eich gilydd, fel y cerais i chwithau." Y mae cariad yn ostyngedig, ac yn ymhyfrydu mewn gwasanaethu. Dylai fod yn hyfrydwch genym wasanaethu gweision ein Harglwydd Iesu Grist, a'i frodyr ef, yn yr ystyr uchaf. Dysga gostyngeiddrwydd i ni wregysu ein lwynau i wasanaethu eraill mewn cariad. Nid byw i fwynhau ein hunain, ac esgeuluso eraill a ddylem. Nid awn i eithafion mewn dim os byddwn yn ostyngedig. Y mae y blaned Jupiter rhwng Sadwrn oer, a Mars danllyd. Gwneler a fyner o eglwys Crist, ni fydd modd cadw undeb, a pharhau cydweithrediad, heb ostyngeiddrwydd. Hunanoldeb sydd yn lladd pob cysur cymdeithasol; a phan y daw yr elfen yma i eglwys Dduw, y mae yn ei handwyo.

A ydym wedi bod yn awr yn yr oruwch-ystafell o ran ein myfyrdod i ddysgu y gwersi hyn? A ydyw y copi yn eglur o flaen ein meddwl? Y mae arnom eisiau ein golchi, ac ni all neb wneyd ond Crist. Rhaid i ni gael ein golchi yn feunyddiol—cael "gynau gwynion" bob dydd, sef cymeriadau wedi eu puro o newydd yn barhaus. Mae llwch y ddaear wrth y traed glanaf. Gostyngeiddrwydd anfeidrol a fydd i Iesu Grist ymostwng i'n golchi ninau. A barha ein gliniau ni yn anystwyth, a'n dwylaw yn anmharod i wasanaethu ein gilydd, ar ol y wers yma?

## Y NAWFED GOFYNIAD.

"A ydwyt ti yn tybied nas gallaf yr awr hon ddeisyf ar fy Nhad, ac efe a rydd yn y fan i mi fwy na deuddeg lleng o angylion?"—MATTHEW 26 : 53.

Dyma yr hyn a ofynodd Iesu Grist i Pedr pan y tynodd allan ei gleddyf yn yr ardd, ac y torodd glust Malchus, gwas yr archoffeiriad. Tro gwrol ydoedd hwn i Pedr, ond eto tro trwsgl ac annoeth. Iachaodd yr Iesu y glust, a throdd at Pedr i'w rybuddio ef rhag iddo ef na neb arall gynyg gwneyd y fath beth mwy. Fe gei dy ddyfetha gan gleddyf, Pedr, os ei di i arfer cleddyf fel yna. Paid a meddwl fy mod yn ddiamddiffyn, "A ydwyt ti yn tybied nas gallaf yr awr hon ddeisyf ar fy Nhad?" Ceir y gwirioneddau canlynol yn y gofyniad hwn,

I. FOD IESU GRIST YN TEIMLO PERFFAITH HYDER EI FOD YN FFAFR EI DAD PAN YDOEDD YN YMYL MARW.

Nid yw yr hen undeb wedi ei dori. A wyt ti, Pedr, yn tybio fod fy Nhad wedi troi i fy nghasâu i yn bersonol? Ai meddwl yr wyt ei bod wedi cymylu rhyngwyf a'r nefoedd wrth fy ngweled fel hyn? Na, y mae ei gariad yr un ataf a phan y cyhoeddai ar fy medydd a'm gweddnewidiad, "Hwn yw fy anwyl Fab." Na, Pedr, gallwn droi y lanternau a'r lampau sydd gan y gelynion i oleuo cwrdd gweddi rhwng cysgod y coed heno. Nid mewn gwendid yr amddifad, neu y gwrthodedig, yr wyf yn gwneyd hyn, ond mewn trugaredd â phechaduriaid.

II. NAD OEDD IESU GRIST YN CAEL EI WTHIO YN DDIAMDDIFFYN I FARW.

"Efe a rydd yn y fan fwy na deuddeg lleng o angylion." Beth allasai ychydig ddynion wneyd yn erbyn y fath fyddin nefol? Cyfrifir yn gyffredin fod chwe' mil yn mhob lleng, a buasai deuddeg lleng yn ddeuddeg mil a thriugain! Dyna fyddin. Chwe' mil o angylion ar gyfer pob un o'r dysgyblion a Christ. Gallasai y lluoedd yna ddifetha mewn mynyd holl fyddinoedd Rhufain. Fe wel Pedr, ac fe wel y miliynau ar ei ol, mai marw o'i wirfodd yr oedd yr Iesu.

III. NAD OEDD IESU AM DDEISYF AM DDIM AMDDIFFYN DYNOL NA NEFOL I'W RWYSTRO I FARW.

Yr oedd wedi gwrthod yn bendant amddiffyn Pedr, ac ni fynai ddeisyf am gymorth engyl. Gwyddai fod yr angylion yn fwy parod na Phedr i'w amddiffyn, ac yn llawer mwy cymwys. "Pa fodd y cyflawnid yr Ysgrythyrau," pe y buasai yn derbyn gwasanaeth cleddyf Pedr, a nerth deuddeg lleng o angylion? "Dychwel dy gleddyf i'w le"—*dy* gleddyf ydyw, nid wyf yn ei arddel fel offeryn perthynol i'm teyrnas i. Nid arfau cnawdol sydd genyf. Drwg mawr, ac nid da, a wna y rhai hyn. Nid oes arnaf eisiau byddinoedd arfog, hyd yn nod pe y byddai pob milwr ynddynt yn angel. "*Dychwel* dy gleddyf i'w le." Nid wyt yn gymwys i drafod arfau fel yna. Fe fu agos i ti dori pen y dyn, ac fe fuaset yn marw fel llofrudd, ac nid fel merthyr, felly. Pe buasai cryfder, deheurwydd, a brwdfrydedd yn angenrheidiol i'm hamddiffyn, cawswn faint a ddewisaswn o'r angylion at y gwaith. Fe ddaethant yn *body guard* i Eliseus, a deuent "yn y fan" i'm hamddiffyn inau, ond nid wyf yn eu hymofyn. Dywed Wesley y buasai yr angel gwanaf yn ddigon i ddymchwel y byd. Beth pe bu-

asai yr holl lengoedd a enwyd yn ymuno i amddiffyn y Gwaredwr? Nis gallasai holl rym y teyrnasoedd ei niweidio. Ni fynai yr un dyn nac angel i'w rwystro i fyned fel y rhagfynegwyd am dano.

IV. FOD IESU GRIST EI HUN YN GOSOD RHYW BWYS RHYFEDD AR EI FARW.

Pe na buasai yn meddwl yn bwysig am ei farw dros bechaduriaid, pa reswm a fuasai dros iddo wrthod amddiffyn angylion cyn marw? Pe rhyw ganlyniad amgylchiadau anffodus gwleidyddiaeth ddrwg ydoedd ei farw, neu ryw ferthyrdod greulon dynion cenfigenllyd, oni fuasai yn eithaf rhesymol iddo alw am bob amddiffyn oedd wrth ei alwad? Na, y mae rhywbeth mwy na hyn yn marw Calfaria, yn ol awgrym yr Iesu ei hun, yn y fan yma eto. Mor anghyson rywfodd â'i holl hanes a'i genadwri a fuasai ei weled yn cael ei gylchynu gan angylion, a'i holl elynion yn gorwedd yn feirw yn ngardd Gethsemane, ac yn cael ei gludo mewn rhwysg i'r nefoedd o waelod yr Olewydd, yn lle esgyn o'i ben, heb farw na myned i'r bedd! Yn wir, y mae gadael marw Calfaria allan yn dyrysu pob peth. Y mae Iesu yn myned o'i wirfodd, ac yn y teimlad mwyaf ystyriol, i farw. "Y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?" Y mae Iesu mor ewyllysgar i fyned i Galfaria ag ydoedd i ddyfod i Bethlehem. Edrych Pedr, dyna yr Iesu yn rhoi ei glust yn ol i Malchus, gael iddo gael clywed y gair "Gorphenwyd;" a'th glywed dithau yn pregethu ei farw mewn hwyl ar ddydd y Pentecost, gan dystio ger bron y miloedd mai

"O'i fodd â'i un anwyl,
I le ei elynion."

Gall y glust yna, Pedr, fyned a swn efengyl at galon y dyn yna. Fe gaiff gyfle i glywed am fy ngwaed, a rhinwedd fy marw. Y mae yn werth gan y Gwaredwr fyned i Galfaria. Ni chaiff ellyllon mo'i atal mewn llid, ni chaiff dynion ei atal mewn tosturi, ac ni chaiff angylion ei atal mewn teyrngarwch. Rhaid iddo gael myned i Galfaria. Paham hyny, tybed? Y mae iachawdwriaeth y byd yn troi ar farw Calfaria. Dyma a barodd i Iesu o'i ras wrthod cymorth Pedr, a llengoedd o angylion i'w atal rhag myned yno.

---

## Y DEGFED GOFYNIAD.

"Canys os gwnant hyn yn y pren îr, pa beth a wneir yn y crin?"—Luc 23 : 31.

Yr oedd yr Iesu yn awr ar y ffordd o'r llysoedd i Galfaria. Rhwygid yr awyr gan ddolefain merched Jerusalem yn wylo. Y mae rhywbeth yn hynod yn hanes Iesu Grist; ni chofnodir fod un ferch wedi ei erlid. Faint bynag o gynddaredd sydd mewn dynion, dyma ferched yn wylo. Fe fu Iesu yn ddystaw iawn ger bron y rhaglaw a'r tetrarch, ond agora ei wefusau i siarad â merched teimladwy. Yr oedd yno leisiau amrywiol gan y dorf ryfedd hon, ond trodd yr Iesu at y merched galarus—yr oedd eu llais wedi trechu pob llais arall. "Merched Jerusalem, nac wylwch o'm plegid i." Os yw y Rhufeiniaid yn gwneyd hyn ynwyf fi sydd fel pren îr, gwyrdd, a ffrwythlon, beth a wnant i'ch cenedl chwi, sydd fel pren crin, diffrwyth, a pharod i dân? Y mae yma ddau fater teilwng o'n sylw yn y gofyniad hwn.

I. Y CYMERIADAU CYFERBYNIOL.

Gwneir defnydd o natur yn y fan yma; a siarada

Crist am ddau gymeriad, un fel "pren îr," a'r llall fel "y crin." Iesu Grist ei hun yw "y pren îr." Pren *byw* yw yr un îr. Y mae yn gydnaws â deddfau natur o'i ddeutu, ac y mae yn sugno ac yn mwynhau holl noddau a rhiniau anian o'i gylch. Y mae yn dyfod i fyny ag amcan ei blaniad a'i wrteithiad. Edrychwn arno yn y gwanwyn yn blaguro, yn deilio, ac yn blodeuo; yn yr haf ymleda ei gangenau a'i ddail braf, fel y câ y teulu a'r ymwelwyr eistedd o dan ei gysgod ar y gwres; ac yn yr hydref dyna ef yn llwythog o ffrwythau addfed. Dyma ddarluniad byw o gymeriad Iesu Grist. Yr oedd ei galon yn llawn bywyd, a'i holl feddylfryd a'i serchiadau yn unol â deddfau y nef, ac ewyllys ei Dad; yr oedd yn llawn blodau rhinwedd yn ei ieuenctyd, ac yr oedd

'Yn plygu 'i frig er cymell pawb,
I fwyta 'i ffrwythau pur,"

trwy ei weinidogaeth gyhoeddus, a gall llawer ddyweyd heddyw

"Ce's eistedd dan ei gysgod,
Ar lawer cawod flin."

Ni fu cymeriad erioed mor llawn o fywyd da, a ffrwythau nefol.

Meddyliwch am bren llawn blodau heirdd, neu llawn ffrwyth addfed. Pwy ddeuai a'i fwyall i'w *dori i lawr* yn yr agwedd ireiddiol a hardd yma? Neb o ddim parch i fywyd, ac ystyriol o'r canlyniad. Pa reswm sydd dros dori i lawr y cymeriad goreu a fu yn y wlad, ac yn yr oesau? Yr oedd Iesu Grist "megis pren afalau yn mysg prenau y coed," ac eto gosodwyd bwyall yr erledigaeth fwyaf miniog arno yn nghanol ei ddefnyddioldeb.

Edrychwch eto ar "y pren crin." Y mae ei nodd wedi sychu, ni flagura, ni ddèilia, ni flodeua, ni thyfa, ac ni ffrwytha byth. Y mae yn myned yn fwy pwdr gyda phob cawod, a phob awel, a phob heulwen. Y mae swn crinder a chracio ar ei holl ysgydwad o dan guriad y gwynt. Dryllia a thyr o gangen i gangen. Cuddiodd y rhisgl y mân bryfaid oedd yn bwyta ei gryfder am dymor maith, ond y mae y rhisgl ei hun wedi pilio erbyn hyn. Y mae ofn ar bawb fyned o dano gan na wyddis pa fynyd y cwympa. Nid yw yn werth i ddim ond i dân. Dyma ddarlun cywir o genedl wedi colli ei bywyd, ei phrydferthwch, a'i defnyddioldeb crefyddol. Ac y mae yn ddarlun o lawer o bechaduriaid anedifeiriol ac annuwiol eto. Nid oes dim moddion yn eu llesâu. Y maent yn crino i dân.

II. YR AWGRYMIAD RHYBUDDIOL.

"Pa beth a wneir yn y crin? Os yw y defnyddiol, y diniwed, a'r dieuog yn cael y fath driniaeth, "Pa beth a wneir yn y crin?"—yr hwn sydd yn farw i bob da, yn ddiobaith gan wendid euogrwydd, yn bwdr gan bechod. Os bu farw yr un oedd yn llwythog o rinwedd, beth a ddaw o'r euog? Y mae diwedd truenus un annuwiol yn llawn o rybuddion fflamllyd i annuwiol arall. Ond swn y diniwed yn marw ar Galfaria ydyw y gloch fwyaf rhybuddiol a gyrhaeddodd at glustiau yr annuwiol erioed. Os na arbedwyd Iesu Grist pan yr aeth i ddeddfle pechadur, yn sicr ni arbedir y pechadur sydd wedi ei ollwng am byth i afael y ddeddf. Y mae loesau a chri Mab Duw ar y groes yn fwy ofnadwy rybuddiol i wrandawyr anghrediniol gwlad efengyl, na chwynfan y colledigion o uffern

ei hun. Os gwnaed hyn i Grist, pa fodd y dianga y pechadur heb gael maddeuant? Aros o ran dy feddwl i syllu ar ddyoddefiadau Iesu Grist. A oes genyt ryw obaith na chollir mo honot ti sydd wedi herio yr orsedd? O bydded i ddyoddefiadau y diniwed fod yn rhybuddiol i'r euog.

Pwy sydd yn teimlo ei hun megys "pren crin?" Dyma newydd da; bendigedig i Dduw am dano; y mae gras yn drech na natur, gall gras droi "y crin" yn "bren îr." Gwnaeth hyny filoedd o weithiau, a gwelir hwynt yn "dirfion ac îraidd," ac yn blodeuo "yn nghynteddoedd ein Duw ni."

---

## YR UNFED GOFYNIAD AR DDEG.

"Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn, a myned i mewn i'w ogoniant?"—Luc 24:26.

Gofyniad i ddysgyblion prudd a chythryblus eu meddwl ar brydnawn y Sabboth Cristionogol cyntaf, cyn iddynt wybod am adgyfodiad Crist, yw y testyn. Yr oedd y dysgyblion ar y ffordd o Jerusalem i Emmaus, taith o ryw ddwy awr. Testyn eu hymddyddan oedd "yr holl bethau" yn nghylch Iesu o Nazareth. Goddiweddwyd hwynt gan yr Iesu, fel pe y buasai yn ymdeithydd dyeithr trwy y wlad. Gwelai yn eu gwedd fod rhyw beth agos iawn at eu calon yn destyn eu hymddyddan. Gofynodd iddynt beth oedd yn peri iddynt ymddyddan mor bryderus, ac edrych mor drist. Aethant dros yr hanes, fel pe buasai yn dda ganddynt gael arllwys eu teimlad i rywun. Synai yntau eu bod mor hwyrfrydig i ddeall meddwl y prophwydi, y rhai a ddangosent yn eglur mai Messiah i ddyoddef a addaw-

ent, ac mai trwy borth y dyoddefiadau hyny yr elai i ogoniant. "Onid oedd raid i Grist ddyoddef y pethau hyn?"

Dysgir yma ddau wirionedd.

I. Rheidrwydd dyoddefiadau Crist.

"Onid oedd raid?" Nid rheidrwydd gorfodol a gormesol oedd hwn. Y mae llawer o ddynion da wedi gorfod dyoddef felly. Dyma a ddysgir yn mhenodau duon hanes y merthyron. Gorfod dyoddef yr oedd yr ebyrth o dan y gyfraith. Pe y buasai Crist yn gorfod dyoddef fel hyn, ni fuasai dim rhinwedd yn ei ddyoddefiadau. Ond yn 1. Rhaid ei gariad ei hun at fyd colledig oedd hwn. Yr oedd wedi caru y byd mor fawr nes y rhoddodd ei hun o'i wirfodd i farw yn neddfle yr euog. Ni buasai yn boddloni cariad ei fynwes at hil syrthiedig Adda heb ddyoddef. Ei gariad a'i harweiniodd i Galfaria, ac a'i rhwymodd wrth y groes. Nis gallasai yr hoelion dur byth wneyd pe y buasai yn ewyllysio fel arall. 2. Rhaid ei ymrwymiad cyfamodol i'w Dad ydoedd hwn. "Wele fi, anfon fi." Yr oedd yn amodau y cyfamod iddo ddioddef. Ymrwymai y Tad iddo ef, ymrwymai yntau i'w Dad, a thystiai wrth ei Dad cyn dyoddef, "Da genyf wneuthur dy ewyllys." "Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys yr hwn a'm hanfonodd, a gorphen ei waith ef." Yr oedd Crist wedi ei anfon ar neges benodol i'n byd, gosodwyd gwaith o'i flaen i'w gyflawni, ac yr oedd y fath ymlyniad rhwng Crist a'r gwaith yma fel yr oedd yn rhaid iddo ddioddef. 3. Rhaid ei berthynas ag achos pechadur ydoedd hwn. Nid am fod y Tad yn ewyllysio poeni ei Fab. Cabledd yw dyweyd hyn, a chul iawn yw y meddwl a dybia fod dyoddefiad-

au iawnol Crist yn dysgu hyn. Pechod oedd yn galw am hyn. Y mae pechod mor ddrwg. Nid rhyw goll neu gamgymeriad yw pechod, ond trosedd ffiaidd, teyrnfradwriaeth erchyll, a'r gwrthryfel mwyaf diachos. Myned yn erbyn Duw yn ei ddeddf sanctaidd, uniawn, a da; ïe, nid pechod un dyn, nac un teulu, nac un genedlaeth, ond pechod byd o ddynion, pechod yr hil ddynol, pechod yr oesau. Pan y gosodwyd ar Grist "ein hanwiredd ni i gyd," ac y gwnaed ef "yn bechod drosom ni," ac y cyflwynodd "ei enaid yn aberth dros bechod"—"Onid oedd *raid* i Grist ddyoddef y pethau hyn?" 4. Rhaid ei ffyddlondeb i wirionedd y rhagfynegiad am dano oedd hwn. Dyma fel y darluniwyd ef fel dyoddefydd yn yr aberthau cysgodol yn llyfrau Moses, a dyma fel y rhagfynegwyd am dano gan y Prophwydi. Rhaid oedd cyflawni y rhai hyn. Y mae pob prophwydoliaeth yn gyfan, pob rhagfynegiad wedi ei gyflawni, pob cysgod wedi ei sylweddoli.

II. GOGONIANT DILYNOL EI DDYODDEFIADAU.

Yr oedd yn rhaid iddo "fyned i mewn i'w ogoniant" trwy lwybr ei ddyoddefiadau. Trwy y porth yma yr oedd Moses a'r prophwydi yn dysgwyl am dano. Buasai yn syndod hyd heddyw i Moses ei weled yn dyfod i mewn heb ddyoddef, a buasai Dafydd, ac Esaiah, a'r holl brophwydi, wedi colli pob ymddiried yn eu hysbrydoliaeth pe y daethai i'r gogoniant heb ddyfod trwy borth y dyoddefiadau. Ni fuasent yn credu mai o'r ddaear y daeth, ond iddo droi yn ol o un o'r bydoedd eraill. Y mae dysgeidiaeth Iesu Grist yn y fan yma fel haul yn tywynu ar holl lwybrau y cysgodau a'r prophwydoliaethau.

Yr oedd i Iesu Grist fyned i ogoniant ar hyd llwybr ei ddyoddefiadau yn gwneyd newidiad pwysig ar ei sefyllfa nefol, rhagor ei un ar y ddaear, ac yn ychwanegu at helaethrwydd a gwerth ei ogoniant. 1. Yr oedd ei ogoniant yn dechreu yn ei adgyfodiad. Hen elyn dynoliaeth wedi ei orchfygu. Llwybr bywyd yn oleu ar ol marw. "Bywyd ac anllygredigaeth" wedi dyfod i oleuni. Dydd cyntaf y greadigaeth newydd wedi gwawrio. 2. Yr oedd ei esgyniad mawreddog hefyd yn rhan o'i ogoniant. Myned o'r mynydd yn fawreddog tua'r nef, ond nid yn frysiog. Myned fel concwerwr buddugoliaethus. Pob angel yn ei dderbyn, pob cerub a seraph yn ei groesawu, a phob sant yn ei orfoli. 3. Ac y mae ei deyrnasiad llwyddianus yn y nef yn barhad o'i ogoniant. "O lafur ei enaid y gwel, ac y diwellir." Hen *broblems* ei gariad tragywyddol yn cael eu gweithio allan. Holl ystryw a dyfeisiau Satan trwy yr oesau wedi dyrysu. Y Tad yn ei dra dyrchafu. Tyrfa na ddichon neb ei rhifo yn byw iddo, ac yn byw gydag ef yn oes oesoedd. Pawb yn ei garu, pawb yn ei foli, pawb yn ei wasanaethu.

Nac anghofiwn ninau, fel canlynwyr Crist, mai llwybr y dyoddefiadau yw yr un sydd yn arwain i'r gogoniant. Ymnerthwn o dan y croesau, ymgysurwn yn y poenau, y mae y dyoddefiadau yn sicr o droi yn ogoniant. Nac anghofiwn mai y dyoddefydd mwyaf a ddyrchafwyd i'r gogoniant mwyaf.

## Y DEUDDEGFED GOFYNIAD.

"Simon, mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i yn fwy na'r rhai hyn?"—IOAN 21 : 15.

Y mae y gofyniad yma wedi ei gyflwyno i Pedr ar adeg ei adferiad ar ol ei wrthgiliad a'i gwymp. Yr oedd wedi ymddangos iddo o'i ryfedd dosturi at ddysgybl edifeiriol foreu ei adgyfodiad. Gwnaeth hyny iachau peth ar ei glwyf, ond yr oedd yr hen euogrwydd yn ei boeni, ac yr oedd ei gyd-ddysgyblion yn edrych gyda pheth amheuaeth arno. Yr oedd yn rhaid ei adferu yn gyhoeddus er ei fwyn ei hun, ac eraill. Felly gofyna Crist iddo yn ngwydd y dysgyblion oll, ar ol ciniawa, "Simon, mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i?" Ti a weli fod y lleill yn fy ngharu i, a allaf ymddiried dy fod ti hefyd yn fy ngharu i? Cynwysa y gofyniad yma,

I. AWGRYM O WENDID PEDR.

"Simon mab Jona"—nid oes yma son am ei enw urddol—Pedr. Y mae Crist am iddo feddwl am ei gyflwr natur, ac yn neillduol am y tir isel yr aeth iddo trwy ei wrthgiliad. Cyferchir ef yn yr hen enw a feddai cyn dod at grefydd. Onid oes yma awgrym o'r modd y dylid edrych ar swyddogion eglwysig os collant eu lle fel Pedr? Nid y diacon yma, a'r Parchedig arall, ond "Simon mab Jona"—y pechadur edifeiriol mwy.

II. FOD IESU GRIST YN UN Y GELLIR, AC Y DYLID EI GARU.

Y mae urddas rhagorol person Crist, teilyngdod ei fywyd, a graslonrwydd ei gymeriad, yn galw ar bawb

i'w garu. Pwy fedr ddarllen hanes dyngarwyr heb eu caru? Ond Crist yw y dyngarwr penaf a fu ar ein daear ni erioed. "Cariad mwy na hwn nid oes gan neb, sef bod i un roi ei einioes dros ei gyfeillion." Ceir yn ein natur, os na fydd wedi cwbl ymlygru, gariad at gyfeillion:

" Dyma gyfaill haedda 'i garu," &c.

Nid yw natur na chrefydd yn ein dysgu i garu pawb; ond dylem garu Crist—"Y mae efe oll yn hawddgar," —dylem ymserchu ynddo, ymlynu wrtho, a byw iddo.

III. FOD POB PROFFES O GRIST YN ANNIGONOL HEB GARIAD ATO.

"*A wyt ti yn fy ngharu i?*"—Gallwn edmygu talent ac athrylith rhai, ac ymloni wrth feddwl am eu gwrhydri, heb allu eu caru. Ond ni wna dim y tro yn lle cariad gyda chrefydd Iesu Grist. Ni wna gwarogaeth y deall y tro i Iesu Grist, heb gariad y galon ato. Y galon yw y peth pwysicaf gan Grist. Crefydd oer, ffurfiol, defodol, bynciol, wag, a diwerth, yw crefydd heb gariad y galon. Gellir gwneyd heb ddawn a dysg, talent a gwybodaeth, a bri a chyfoeth, gyda chrefydd Crist, ond nis gellir gwneyd heb gariad.

IV. FOD Y CARIAD YMA AT GRIST I FOD GORUWCH POB YMSERCHIAD ARALL.

"*Yn fwy na'r rhai hyn.*"—Gall hyn gynwys y gwrthddrychau sydd yn cael eu caru, neu y bodau sydd yn caru. Os y cyntaf, golyga yn fwy na'r alwedigaeth fydol—yn fwy na'r cwch, a'r rhwyd, a'r dal pysgod. Yr oedd Pedr newydd fod yn tynu rhwyd i dir yn llawn o bysgod—cant a thri ar ddeg a deugain o bysgod mawrion. Dyma ei hen alwedigaeth yn yr adeg fwyaf llwyddianus. Dichon ei fod yn dechreu

ymhyfrydu ynddi eto, wedi colli hyder ynddo ei hun fel dysgybl i Grist, ac wedi blino ar ddynion a'u cymdeithas, eisiau troi yn ol at natur. "A wyt ti yn fy ngharu i *yn fwy* na'r rhai hyn?"

Ond os yr ail ystyr sydd yma—yn fwy nag y mae y dysgyblion eraill yn fy ngharu, cyfeirir at hen fost Pedr, na wadai efe Grist byth, pe y gwnaethai pawb arall.

Ond ai tybed nad ellir cymeryd yr ymadrodd "yn fwy," yn yr ystyr eangaf? "Yn fwy" na phobpeth. Hoffi llawer o bethau, ond caru Iesu yn fwy. Caru Crist nes ei addoli. Caru Crist nes gadael pob peth er ei fwyn.

V. FOD YMGYRAEDD AT Y TIR YMA YN EIN SEFYLLFA BRESENOL YN DDYLEDSWYDD ARNOM.

"*A wyt ti?*" Ni ddysgwylir i ni fod yn drwyadl sanctaidd yn awr, ond rhaid i ni fod felly cyn y cyraeddwn y nefoedd. Ond rhaid i ni ddod i garu Crist yn awr. Ofer pob peth os na ddeuwn i'r tir yma yn ein crefydd. Ni ddylem foddloni ar ddysgwyl dyfod i'w garu. Dyma hanfod crefydd. Syniad arswydus ydyw proffesu Iesu Grist heb ei garu. Gall y gwanaf gyraedd y profiad ei fod yn ei garu, ac ni all y cryfaf ysgoi hyn.

Dylem nid yn unig ddyfod i'r tir yma, ond meddu *y profiad* ein bod yn ei garu. Dylem allu ateb y gofyniad yma heddyw. Yr oedd Iesu Grist yn gofyn i Pedr allu ateb drosto ei hun, ac nid yn gofyn i eraill beth oedd eu barn am Pedr. Mor hyderus yr etyb Pedr, "Ti a wyddost fy mod yn dy garu." Nid yw cariad i fod yn dir amheus yn ein crefydd. Gallwn fod yn amheus am raddau uchaf ein cariad. Defnyddia

Pedr y gair gwanaf—"yn dy hoffi;" nis gallai sicrhau ei fod yn ei garu fel y dylasai, ac y dymunasai.

Crefydd y cariad at Grist a'n gwna ni i ymhyfrydu yn ei waith. Bydd cariad at y Meistr yn peri i ni hoffi ei wasanaeth. Os byddwn yn caru Iesu Grist, byddwn yn ymhyfrydu yn mhob rhan o'i waith. "Portha fy wyn."—"Bugeilia fy nefaid." Y mae llawer yn ddigon boddlon i fugeilio y defaid, na wnant borthi yr wyn. Ond os bydd genym gariad at Grist, gwnawn bob un o honynt. Dyma y gofyniad i Pedr —gofyna yr un peth i ninau heddyw.

# TRAETHODAU.

## RHEITHEG.

### PENNOD I.

RHEITHEG ydyw y gelfyddyd o ddefnyddio iaith mewn dull eglur, trefnus, hysain, a gweddus; er cyflwyno hyfforddiant, cynyrchu argyhoeddiad, dirgymell darbwylliad, ac ychwanegu dedwyddwch. Dysg Gramadeg i ni y modd i ddefnyddio geiriau, i'w gosod y'nghyd yn drefnus, a'u cyflwyno yn briodol; dysg Rhesymeg i ni y modd i resymu yn gywir, er gwrthwynebu twyll, ac amddiffyn y gwir; a dysg Rheitheg i ni y modd i arddangos ein meddyliau i eraill, mewn dull a sicrha y dyben sydd genym yn ein golwg. Y *meddwl* a ddylai gael ein sylw blaenaf, ac yn nesaf at hyny y dull mwyaf priodol, ac effeithiol o'i gyflwyno.

Y mae myfyrio y dull goreu o gyflwyno syniadau i eraill yn bwysig, gan fod dylanwad y llefarydd, a buddioldeb y rhai fyddant yn gwrando yn ymddibynu ar hyny. Bob amser, yn ol fel y byddo cenedl yn ymddyrchafu mewn enwogrwydd, ac yn blodeuo mewn rhinwedd, y bydd ei sylw a'i gofal am drefnusrwydd iaith yn cynyddu. Mewn oes fel ein hoes ni, pan y mae pob celfyddyd yn myned ar gynydd, a phob gwybodaeth yn ymëangu; mae o bwys fod sylw penodol yn cael ei roddi i dlysder a choethder iaith.

Edrychir yn bwysig ar ymadroddi yn drefnus, yn gystal a synied yn gywir, trwy yr holl ysgrythyrau. Yr oedd tori ymaith yr "areithiwr hyawdl" yn un

o'r barnau trymaf a fygythid ar Jerusalem a Judah. Mae yn amlwg fod y gofal mwyaf yn cael ei ddangos gan bobl yr Arglwydd, i ddarllen, gweddio, canu, ysgrifenu, a phregethu yn weddus a threfnus.

"A hwy a ddarllenasant yn *eglur* yn y llyfr, y'nghyfraith Dduw, gan osod *allan y synwyr*, fel y deallent wrth ddarllen." Neh. 8 : 8.

"Cenwch fawl yn *ddeallus*." Salm. 47 : 7.

"Canaf â'r ysbryd a chanaf â'r *deall* hefyd. 1 Cor. 14 : 15.

"Minau a welais yn dda, wedi i mi ddilyn pob peth yn ddyfal o'r dechreuad, *ysgrifenu mewn trefn atat*, O ardderchocaf Theophilus." Luc 1 : 3.

"Chwiliodd y pregethwr am *eiriau* cymeradwy." Preg. 12 : 10.

IAITH.—Iaith ydyw sylfaen hyawdledd, a phrif ysgogydd cyfrinach. Heb iaith byddai gwybodaeth yn ofer, a meddylddrychau yn ddiddylanwad.

Pe yr ymddifadid ni o iaith, byddai cymdeithas gwareiddiad, llywodraeth, gwyddor, celfyddyd, athroniaeth, llenyddiaeth, cyfrinach, cariad, cartref, gwlad, a chrefydd, y'nghyd a'u dedwyddwch, a'u swynion cysylltiadol, wedi eu diddymu o restr profiad dyddiol dynoliaeth. I iaith a rheswm mae dyn yn ddyledus am ei gynydd a'i ddiwylliant; a thrwyddi y mae yn gallu cyflwyno gwybodaeth i'w gyd-ddynion, ëangu eu hyfrydwch, bywiocâu eu gobeithion, cynhyrfu eu gweithrediadau, dadebru eu huchelgais, a thrydanu eu galluoedd a'u teimladau. Cynhyrfodd Demosthenes frwdfrydedd y Groegiaid a'u gwladgarwch i ymarfogi iyn erbyn ymosodiadau goresgynaidd Philip, trwy eirau oeddynt yn fwy miniog nag arfau rhyfel—rheolai,

Cicero y deall, a llywodraethai holl deimladau y galon, yn y senedd ac yn y ddadleufa, trwy hyawdledd ei ymadrodd—taranodd Luther â'i lais nes crynu y byd—y mae Fox, Sheridan, Burke, Chatham, Chalmers, Hale, Wilberforce, Peel, a Jay, yn esiamplau i ni o nerth dylanwad ymadrodd; a chyda hwynt y gellir rhestru yr anfarwolion John Elias, Christmas Evans, a Williams o'r Wern. I iaith y mae hanesiaeth yn ddyledus am gywirdeb a dyddordeb ei ffeithiau, athroniaeth am fanylder ei gwahaniaethau, rhesymeg am ei phwynt a chyfrwysder ei thröadau, a barddoniaeth am ei thlysder a'i choethder.

Er fod iaith, yn yr ystyr flaenaf, o darddiad dwyfol etoni dderbyniwyd hi yn ei ffrwythlondeb presenol. Cafodd ein rhieni cyntaf yr hyn oedd yn angenrheidiol i'w sefyllfa ar y pryd, a chawsant gymwysder i ymëangu yn ol angenrheidiau eu sefyllfa ddyfodol. Ymddengys yn dra thebygol fod llefau, ystumiau, ac arweddiadau ar y gwynebpryd a'r llais, yn foddion arbenigol yn y cyfnod boreuaf i gyflwyno syniadau a theimladau; ac fod gan hyn ddylanwad neillduol yn ffurfiad geiriau newyddion.

Yr ydym yn gweled yn mhob iaith luaws o eiriau wedi eu gwneyd i fynu ar yr egwyddor hon; megys, y gwcw, oddiwrth ei swn; yr ysgyfarnog, oddiwrth ei llun; a'r ehedydd, oddiwrth ei symudiad. Ond nis gellir cymwyso yr egwyddor hon ond yn unig at iaith yn ei sefyllfa wreiddiol a mwyaf syml. Yr oedd iaith yn bynod farddonol yn ei chyflwr cyntefig. Lleferid llawer mwy trwy weithrediadau na thrwy eiriau. Ar yr egwyddor hon y mae Dr. Warburton yn priodoli y llefaru mynych a wneir yn yr Hen Destament trwy

weithrediadau; megys Jeremiah yn tori ystên y crochenydd yn ngwydd y bobl; yn taflu llyfr i'r Euphrates, ac yn dodi rhwymau a gefynau am ei wddf.

## PENNOD II.

IEITHWEDD.—Ieithwedd ydyw y dull y defnyddir iaith er gosod allan y meddwl, ar lafar, neu drwy ysgrifen. Cynwysa rywbeth mwy na defnyddio geiriau priodol; gall awdwr ddefnyddio geiriau priodol a gweddus, ac eto fod yr ieithwedd yn hollol feius—yn sech, anystwyth, gwan, a diddylanwad. Y mae perthynas agos rhwng ieithwedd pob awdwr â'r dull fydd ganddo o feddwl; felly, er mwyn ffurfio ieithwedd dda, rhaid yn gyntaf ofalu am y dull o feddwl. Dosrenir y gwahanol ieithweddau yn gyffredin i ddeuddeg:

1. *Y gryno.*—Mae yr awdwr sydd yn defnyddio yr ieithwedd hon yn cyflwyno ei feddylddrychau mewn can lleied o eiriau ag a all, ac ni ddefnyddia ond y geiriau hyny sydd fwyaf cymwys i'w bwnc. Defnyddia addurn yn fwy er nerthu ei gyfansoddiad nag er ei brydferthu. Awgryma fwy nag a draetha.

2. *Y wasgarog.*—Mae yr hwn a ddefnyddia yr ieithwedd hon yn dadblygu ei feddylddrychau yn llawn, yn eu harddangos mewn gwahanol oleu, ac yn rhoddi cynorthwy i'r darllenydd i'w hamgyffred yn drwyadl.

3. *Y gref.*—Gwna yr awdwr fydd yn arfer yr ieithwedd hon ddefnydd o'r geiriau cryfaf a fedr gael er gosod ei feddwl allan.

4. *Y wan.*—Cwyd gwendid ieithwedd oddiar wendid amgyffredion; os ysgafn a gwan fydd y deall, mae

hyny yn sicr o roddi ei ddelw ar yr ieithwedd. Bydd y syniadau yn gymysglyd, a'r ymadroddion yn ddifywyd.

5. *Y sech.*—Gwrthoda yr hwn a ddefnyddia yr ieithwedd hon bob math o addurn. Ni ofala am foddio y glust, os gall ryw fodd oleuo y deall. Dyma ieithwedd gyffredin holwyddoregau, a gweithredoedd cyfreithwyr. Hon a ddefnyddiodd Aristotle—nid yw byth yn ymgeisio at addurn, ond ysgrifena at y deall, heb y golwg lleiaf at y teimlad.

6. *Y ddiaddurn.*—Dyrchafa hon ychydig yn uwch na'r llall. Ni ddefnyddia awdwr fydd yn arfer hon ond ychydig, os dim, addurn; ymddibyna bron yr oll ar y synwyr.

7. *Y ddillyn.*—Mae addurn yn hon, ond nid addurn o'r dysgleirdeb mwyaf. Dewisir geiriau gyda gofal, a threfnir hwy yn ddestlus. Er na ymddyrchefir yn uchel mewn dychymyg a hyawdledd, gofelir am i'r syniadau fod yn goeth, a'r geiriau fod yn bur.

8. *Y brydferth.*—Ymddyrchafa hon yn uwch eto i'r addurnol. Medda hon holl ragorion addurn, heb ei eithafion a'i ddiffygion. Mae holl ragoriaethau cyfansoddiadau yn ymgyfarfod yn hon—meddylddrychau addfed, geiriau coeth, brawddegau trefnus, dychymygion addurnol, a chydmariaethau eglur a phriodol.

9. *Y flodeuog.*—Y mae diffygion hon, nid mewn rhy fach o addurn, ond mewn gormodedd. Y mae y rhan fwyaf o'r cyfansoddwyr sydd wedi dyfod i enwogrwydd wedi bod yn defnyddio yr ieithwedd hon pan yn ieuainc; y mae yn lled esgusodol mewn cyfansoddwyr ieuainc, gan yr arwydda athrylith gref, a dychymyg bywiog, fyddant yn debyg o wellâu trwy

gynydd mewn dyddiau, ac eangiad gwybodaeth; ond y mae yn hollol annyoddefol mewn rhai sydd eisoes wedi cyrhaedd hyny.

10. *Y seml.*—Y mae holl gyfansoddiadau Homer yn syml, er y defnyddir ynddynt yr addurn a'r prydferthwch mwyaf. Ni ddefnyddir yn hon chwyddiaith ac addurn gormodol. Dyma yr ieithwedd mwyaf manteisiol i gyflwyno gwirionedd, ac i dynu sylw ato oddiwrth bob peth arall.

11. *Y goegaidd.*—Defnyddia yr un a arfera hon yr iaith fwyaf bostfawr a rhyfedd a fedr gael, nes gwneyd ei gyfansoddiad yn fursenaidd ac annaturiol.

12. *Yr angerddol.*—Dangosir hi trwy ddychymygion, ymadroddion, a theimladau tanllyd. Y mae hon yn perthyn i'r dosbarth uchaf o areithyddiaeth—defnyddir hi yn fwy gan y llefarydd na chan yr ysgrifenydd.

## PENNOD III.

IEITHWEDD FFIGYROL.—Eglurir y meddwl yn yr ieithwedd hon trwy ddefnyddio y geiriau allan o'u hystyr lythyrenol, gwreiddiol, a syml, er cynyrchu grymusder, bywiogrwydd, ac addurn. Arferir naw yn gyffredin o ffigyrau o eiriau a meddyliau.

1. *Traws-ymddwyn.*—Y mae y ffigyr hwn wedi ei selio yn hollol ar y tebygrwydd sydd rhwng y naill a'r llall, ac yn hyn y mae yn debyg i gyffelybiaeth. Y mae gwahaniaeth rhwng traws-ymddwyn a chyffelybiaeth; er engraifft, pe y dywedem fod yr Arlywydd "yn cynal y deyrnas fel y cynalia colofn ddrysau yr adeilad," byddem felly yn defnyddio cyffelybiaeth; ond pe y dywedem mai "efe yw colofn y deyrnas," byddem felly yn defnyddio traws-ymddwyn.

Yn y Beibl y cawn ni yr engreifftiau rhagoraf o ddefnyddiad medrus o'r ffigiwr hwn, megys,

"*Llusern* yw dy air i'm traed, a *llewyrch* i'm llwybr" —h. y., mae Gair Duw yn oleuni i'r ymddygiad, yr un fath ag y mae *llusern* i'r cerddediad.

"Ond tydi, Arglwydd, ydwyt *darian* i mi"—h. y., fel y mae y *darian* yn amddiffyn i'r milwr, felly y mae gofal yr Arglwydd yn amddiffyn i'r credadyn.

"Efe a wna i mi orwedd mewn *porfeydd gwelltog*"—h. y., yn nghanol y manteision goreu, a'r trugareddau helaethaf.

"Ac efe a ddifa yn y mynydd hwn y *gorchudd* sydd yn gorchuddio yr holl bobloedd, a'r *llen* yr hon a daenwyd ar yr holl genedloedd"—h. y., ofergoeliaeth ac anwybodaeth y meddwl.

"Ond *haul* cyfiawnder a gyfyd i chwi"—h. y., Mab Duw, prif oleuni moesol, a dysgawdwr y byd.

"Chwi yw *halen* y ddaear"—h. y., y nodweddiadau sydd i bereiddio'r byd, ac i'w atal rhag llygru. "Chwi yw *goleuni* y byd"—h. y., y nodweddiadau sydd i ddysgu a chyfarwyddo y byd.

Y mae bod yn anwybodus am y defnydd a wneir o'r ffigiwr hwn wedi arwain dynion i gyfeiliorni yn nghylch meddwl yr Ysbryd mewn llawer o fanau pwysig. Trueni fod llawer o'n cydgenedl wedi cymeryd eu camarwain gan dwyll-resymau y Mormoniaid, trwy eu bod wedi esgeuluso y moddion oedd yn eu gafael i ddeall ieithwedd ffigyrol yr Ysgrythyrau. Y mae pynciau pwysicaf eu crefydd yn sylfaenedig ar gam-ddealldwriaeth o'r dull hwn o osod y meddwl allan. Sicrhant fod angel neillduol wedi gwneyd ei ymddangosiad iddynt, a haerant fod hyny yn gyson â

Dat. 14 : 6—"Ac mi a welais angel arall yn ehedeg yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo," &c. Eu dull o esbonio a phrofi hyn sydd fel y canlyn:—"Gan mai angel (llythyrenol) mae yn ei ddweyd, rhaid mai angel (llythyrenol) mae yn ei feddwl." Beth pe defnyddid y dull yma o esbonio Gair Duw, y fath lyfr gwrthun a fyddai! Cymerwn yr adnod ddiweddaf o'r engreifftiau o Trawsymddwyn—"Chwi yw halen y ddaear." "Gan mai halen (llythyrenol) y mae yn ei ddweyd, halen (llythyrenol) y mae yn ei feddwl. "Chwi yw goleuni y byd." Gan mai goleuni (llythyrenol) y mae yn ei ddweyd, goleuni (llythyrenol) y mae yn ei feddwl. Y fath ynfydrwydd!

Hefyd coleddant dybiau cyfeiliornus a gwrthun am nodweddiad Duw, oddiar yr anwybodaeth hwn. Dywedant, oddiwrth Gen. 1 : 26—"Gwnawn ddyn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hunain," &c. Gan fod dyn wedi ei greu ar ddelw a llun Duw, rhaid fod Duw ar ddelw a llun dyn; felly nid yw Duw ond dyn. O! wrthuni! O! gabledd!

Y mae yn wir fod Duw wedi ymostwng i siarad am dano ei hun mewn iaith ddynol; priodolir llawer o bethau perthynol i ddyn i Dduw; ond nid ydym i gymeryd hyny yn llythyrenol. Priodolir gwyneb i Dduw. "Llewyrched dy wyneb ar dy was;" h.y. amlygiadau o ffafrau a bendithion; megys yr adwaenir dyn wrth ei wyneb, felly yr adwaenir Duw oddiwrth y pethau hyn.

Priodolir *genau* iddo. "Ond trwy bob gair ar sydd yn dyfod allan o enau yr Arglwydd y bydd byw dyn;" h.y., ei air mynegol, ei orchymynion, a'i addewidion.

Hefyd *clust*. "Ac ni thrymhaodd ei glust ef, fel na

allo glywed;" h. y., y cymwysder sydd yn Nuw i glywed ac i wybod symudiadau y meddwl, a dysgwyliadau y galon.

*Braich* hefyd, "Gan fawredd dy fraich y tawant fel careg;" h. y., gallu ac awdurdod anorchfygol Duw.

A *bysedd.* "Pan edrychwyf ar y nefoedd, gwaith dy fysedd." "*Bys* Duw yw hyn;" h y., gwaith digyfrwng Duw.

Ac hefyd *traed.* "Harddaf hefyd le fy nhraed;" h. y., ei eglwys, bydd ei bresenoldeb yno fel pe byddai yn rhodio ynddi.

2. *Aralleg.*—Y mae aralleg yn gwahaniaethu oddiwrth drawsymddwyn, o gymaint ag fod y ffigiwr yn ei ddal i fyny yn hir, a'i ddefnyddio yn helaethach. Trawsymddwyn yw "teyrnas Dduw," o dan yr enw "gronyn o had mwstard;" ond pan yr helaethir ar hyn, ac yr eir oddiwrth yr hâd at y tyfiant, y cangenau, a'r lle a gä adar yr awyr i nythu ynddynt, nid yw mwyach yn drawsymddwyn, eithr aralleg. Trawsymddwyn yw haeddiant Crist, o dan yr enwau, "cnawd Mab y dyn," a'i "waed ef;" ond pan yr helaethir am fwyta ei gnawd, ac yfed ei waed, a bod y cnawd yn "fwyd yn wir," a'i waed yn "ddiod yn wir," nid yw mwyach yn drawsymddwyn, eithr aralleg.

Yn yr Ysgrythyrau y cawn yr engreifftiau puraf a phrydferthaf o'r dull hwn o osod gwirioneddau allan.

Defnyddia Crist y dull hwn wrth adgoffâu y ffaith o ddyrchafiad y sarph bres gan Moses yn y diffaethwch, i'r dyben o arddangos ei gymeriad ei hun fel Iachawdwr, yr hwn oedd i gael ei ddyrchafu i'r groes. "Ac megys y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn." Ar

achlysur arall defnyddia gydmariaeth rhyngddo ef â Jonas—"Canys fel ag y bu Jonas dridiau a thair nos yn mol y morfil, felly y bydd Mab y dyn dridiau a thair nos yn nghalon y ddaear." Ni fwriadwyd y sarph na Jonas i fod yn *gysgod* o Grist, ond defnyddir hwy fel cydmariaethau o hono yn eu cysylltiadau neillduol. Arallega yr apostol Paul, yn hanes Agar y gaeth forwyn, a Sarah y wraig rydd, er gosod allan y ddwy oruchwyliaeth—goruchwyliaeth Sinai, a goruchwyliaeth yr efengyl. Gal. 4 : 24, 26: "Yr hyn bethau ydynt mewn *alegori;* canys y rhai hyn yw y ddau destament; un yn ddiau o fynydd Sinai yn cenedlu i gaethiwed, yr hon yw Agar. Eithr y Jerusalem hono uchod sydd rydd, yr hon yw ein mam ni oll." Ac yn yr un modd y defnyddir y dull hwn wrth son am y dwfr o'r graig yn dilyn plant Israel trwy'r anialwch, gan gyfeirio at Grist yn parhau i fendithio ei eglwys. 1 Cor. 10 : 4, " Ac yfed o bawb o honynt yr un ddiod ysbrydol: (canys hwy a yfasant o'r Graig ysbrydol a oedd yn canlyn; a'r Graig oedd Crist)."

Yn Ps. 11: 6, mae aralleg gynyrfus iawn, mewn cyfeiriad at ddinystr Sodomah a Gomorrah.. " Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau tân a brwmstan, a phoethwynt ystormus; dyma ran eu phiol hwynt." Ac y mae un hynod o brydferth yn Ps. 80 : 8-14, lle y siaradir am bobl Israel o dan y cymeriad o winwydden. " Mudaist winwydden o'r Aipht, bwriaist y cenedloedd allan, a phlenaist hi. Arloesaist o'i blaen, a pheraist i'w gwraidd wreiddio, a hi a lanwodd y tir," &c.

3. *Trawsenwad.*—Trwy y ffigyr hwn, mae enw un peth yn cael ei roddi am beth arall—megis y lle, am y

trigolion—y gweithiwr, am ei waith—yr hyn fyddo yn cynwys, am yr hyn a gynwysir, &c.

Jer. 22 : 29. "O ddaear, ddaear, ddaear, gwrando air yr Arglwydd;" h. y., trigolion y ddaear.

Ioan 3 : 16. "Canys felly y carodd Duw y byd," &c. 2 Cor. 5: 19, "Sef bod Duw yn Nghrist yn cymodi y byd âg ef ei hun," &c., h. y., dynion a breswyliant y byd.

Ex. 2:1. "Yna gwr o dy Lefi a aeth," &c., h. y., o dylwyth Lefi.

Es. 23 : 1. "Llongau Tarsus, udwch," &c., h. y., y morwyr yn y llongau.

Es. 38 : 18. "Canys y bedd ni'th fawl di," &c., h. y., y rhai meirw yn y bedd.

Mat. 3 : 5. "Yna yr aeth allan ato ef Jerusalem, a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen," h. y., trigolion y gwahanol fanau hyn.

Luc 16 : 29. "Abraham a ddywedodd wrtho, y mae ganddynt Moses a'r prophwydi; gwrandawant arnynt hwy;" h. y., gweithion Moses a'r prophwydi. Yr oedd Moses a'r prophwydi wedi eu claddu er ys canrifoedd o ran eu cyrff, ond yr oedd eu hysgrifeniadau yn aros.

2 Cor. 3 : 15. "Eithr hyd y dydd heddyw, pan ddarllenir Moses, y mae gorchudd ar eu calon hwynt;" h. y., cyfraith Moses.

Job 41 : 31. "Efe a wna i'r dyfnder ferwi fel crochan;" h. y., fel yr hyn a gynwysir yn y crochan.

Jer. 1 : 13. "Mi a welaf grochan berwedig, a'i wyneb tua'r gogledd;" h. y., yr hyn a gynwysir yn y crochan sydd yn "ferwedig."

4. *Gormodiaith.*—Trwy y ffigyr hwn y mwyheir,

neu y lleiheir y gwrthrych tu draw i'w derfynau naturiol. Y mae yn cael ei arfer yn holl ieithoedd adnabyddus y byd. Dywed yr amaethwr pellenig wrth y gwas a ddychwel yn gyflym gyda'i negeseuon o'r dref, "Ti a ddaethost *mor gyflym a'r gwynt*;" a'r ymdeithydd llon, wrth fyned heibio bwthyn yr hen wr pedwar ugain a deg, a'i siriol gyfarcha,

> "Gwallt fy nhaid sydd iddo'n goron,
> *Gwynach yw na'r eira gwyn.*"

Canmola y mab ieuanc llawn cariad ei feinir dlos, gan ofyn mewn ysbryd beiddgar—

> "Pa ferch sydd brydferthach na thi?
> Dysgleiriach na'r grisial yw'th bryd;
> Na'r lili mil tecach wyt ti,
> Wyt dduwies a banon y byd."

Mae genym luaws o engreifftiau yn yr Ysgrythyrau o'r ffigyr hwn eto.

Gen. 13: 16. "Gwnaf hefyd dy had di fel *llwch y ddaear;* megys os dichon gwr rifo llwch y ddaear, yna rhifir dy had dithau," h. y., y bydd had Abraham yn orluosog.

Num. 13: 33. "Ac yno y gwelsom y cawri, meibion Anac, y rhai a ddaethant o'r cawri; ac yr oeddym yn ein golwg ein hunain fel ceiliogod rhedyn, ac felly yr oeddem yn eu golwg hwythau;" h. y., fel y mae ceiliogod rhedyn yn fychain mewn cyferbyniad i wahanol greaduriaid mawrion, felly yr oedd plant Israel yn gweled eu hunain yn fychain mewn cyferbyniad i feibion Anac.

Job 29: 6. "Pan olchwn fy nghamrau ag ymenyn, a phan dywalltai y graig i mi afonydd o olew;" h. y., pan oedd gan Job helaethrwydd o gysuron, amddi-

ffyniad Duw, cymdeithas â Duw, boddlonrwydd meddwl, a gobeithion siriol dan belydrau gwenau gwyneb Duw.

Psalm 139: 8, 9, 10. "Os dringaf i'r nefoedd, yno yr wyt ti; os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno," &c., h. y., mae sylw Duw ar bawb yn mhob man, a'i bresenoldeb yn mhob lle.

Psalm 22: 6 "A minau pryf ydwyf, ac nid gwr; gwarthrudd dynion, a dirmyg y bobl;" h. y., ystyriai ei hun mor ddirmygedig a'r pryf a sethrir tan draed.

Ioan 21: 25. "Ac y mae hefyd lawer o bethau eraill a wnaeth Iesu, y rhai ped ysgrifenid hwy bob yn un ac un, nid wyf yn tybied y cynwysai y byd y llyfrau a ysgrifenid." h. y., y buasai yn ofynol cael lluosogrwydd mawr o lyfrau i gofnodi holl bregethau, gweddiau, ymddyddanion, gwyrthiau a gweithredoedd nerthol Mab Duw.

Iago 3: 6. "A'r tafod, tân ydyw, byd o anghyfiawnder," &c., h. y., mawr helaethrwydd dylanwad y tafod.

5. *Gwawdiaith.*—Arferir hwn pan y byddo peth hollol wahanol yn cael ei feddwl, i'r hyn a ddywedir. Arferir ef weithiau wrth gellwair, ac waith arall wrth ddywedyd y caswir—dywedir yn ganmoladwy am ryw berson, neu ryw wrthddrych, pan na fyddis yn tybio ei fod felly, yr hyn sydd yn ffordd neillduol o effeithiol i wawdio. Ceir engreifftiau lawer o'r ffigyr hwn yn yr Ysgrythyrau.

Gen. 3: 22. "Wele y dyn sydd megys un o honom ni, i wybod da a drwg." Edliwia yr Arglwydd trwy wawdeb sanctaidd, resyndod a thrueni sefyllfa dyn ar ol pechu i'w erbyn.

Barn. 10 : 14. "Ewch a llefwch at y duwiau a ddewisasoch: gwaredant hwy chwi yn amser eich cyfyngder." Amcana yr Arglwydd ddwyn eu meddyliau i weled gwaeledd y duwiau yr ymddiriedent ynddynt i'w gwaredu o gyfyngder, yn nghyd a'u dwyn i edifeirwch calon, am eu hymddygiad ynfyd yn ymddiried ynddynt.

2 Sam. 6 : 20. "A Michal, merch Saul, a ddaeth i gyfarfod Dafydd, ac a ddywedodd, "O, mor ogoneddus oedd brenin Israel heddyw," &c. Dyma wawdio Dafydd i'r eithaf, am ddawnsio o flaen arch ei Dduw. Moledd sydd yn llythyren ei chyfarchiad, ond gwawd digymysg sydd yn ei ysbryd.

1 Bren. 18 : 27. "A bu ar haner dydd, i Elias eu gwatwar hwynt, a dywedyd, Gwaeddwch â llef uchel; canys duw yw efe; naill ai ymddyddan y mae, neu erlid, neu ymdeithio y mae efe; fe allai ei fod yn cysgu, ac mai rhaid ei ddeffroi ef." Yr oedd yn anmhosibl cael ffordd mwy effeithiol i ddangos gwagder Baal, a'r ffolineb o osod hyder ynddo.

Preg. 11 : 9. "Gwna yn llawen, wr ieuanc, yn dy ieuenctyd, a llawenyched dy galon yn nyddiau dy ieuenctyd, a rhodia yn ffyrdd dy galon, ac yn ngolwg dy lygaid, ond gwybydd y geilw Duw di i'r farn am hyn oll." Gollynga y Pregethwr yr awen i deimladau cnawdol yr ieuanc, ond adgofid ef am y farn mewn gwawdiad ddifrifol.

Mat. 26 : 45, 50. "Yna y daeth efe at ei ddysgyblion, ac a ddywedodd wrthynt, Cysgwch, bellach, a gorphwyswch." Cerydda Crist, trwy hyn, ddifrawder ei ddysgyblion yn cysgu yn yr adeg y gallesid dysgwyl iddynt fod yn fwyaf effro. Adnod 50. "A'r Iesu a

ddywedodd wrtho, y cyfaill, i ba beth y daethost?" Adgoffa yr Iesu i Judas, trwy wawdiaeth lem, ei broffes gyfeillgar yn ei gusanu ef, ac yntau ar yr un pryd a'r fath frad yn ei galon, yn flaenor ar ei elynion marwol.

1 Cor. 4 : 8. "Yr ydych chwi yr awrhon wedi eich diwallu, yr ydych chwi yr awrhon wedi eich cyfoethogi, chwi a deyrnasasoch hebddom ni: ac och Duw na baech yn teyrnasu, fel y caem ninau deyrnasu gyda chwi." Yma mae yr apostol yn gwawdio ysbryd hunanymddiriedol, ac ymffrostgar gau athrawon Corinth, mewn dull hynod o dreiddgar.

6. *Dynsodiant.*—Priodolir trwy hwn fywyd a gweithrediad i greaduriaid difywyd, megys, "Y môr digllawn;" "Y ddaear sychedig;" "Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant, cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant;" "Y mynyddoedd a neidiasant fel hyrddod, a'r bryniau fel wyn defaid;" "Colledigaeth a marwolaeth sydd yn dywedyd, Ni a glywsom â'n clustiau son am dani hi."

7. *Cyforddwyn.*—Rhoddir y cyfan am ran, a rhan am y cyfan, trwy y ffigyr yma. Dylid bod yn wyliadwrus iawn rhag cario y ffigyr yma yn rhy bell. Ceir yr engreifftiau canlynol o hono yn y Beibl:

Gen. 1 : 26. "Duw hefyd a ddywedodd, Gwnawn ddyn ar ein delw ni," &c.; h. y., y rhan ysbrydol o'r dyn, sef ei enaid—yr oedd ar ddelw Duw mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd.

Ex. 9 : 6. "A bu feirw holl anifeiliaid yr Aiphtiaid," h. y., *y rhai ydoedd yn y maes,* oblegid mae yn amlwg yn adn. 19, fod gan yr Aiphtiaid anifeiliaid ar ol dyfethiad yr haint, pa rai y bygythia Duw eu dyfetha trwy bla cenllysg.

Ex. 20 : 10. "Ond y seithfed dydd yw Sabboth yr Arglwydd dy Dduw; na wna ynddo *ddim* gwaith;" h. y., dim gwaith afreidiol—gwasaidd neu gelfyddgar.

Lef. 26 : 18. "Ac os ei hyn ni wrandewch arnaf, yna y chwanegaf eich cosbi chwi *saith mwy* am eich pechodau;" h. y., lluosogrwydd annherfynedig.

Num. 10: 36. "Dychwel, Arglwydd, at *fyrddiwn miloedd* Israel;" h. y., at holl Israel, er eu lluosogrwydd mawr.

Num. 14 : 22. "A'm temtiasant y *dengwaith* hyn;" h. y., llawer gwaith.

1. Sam. 25: 4. " Wele, dy forwyn yn wasanaeth-ferch i *olchi traed* gweision fy Arglwydd;" h, y., unrhyw swydd ostyngedig a gwasanaeth o gariad.

Ps. 44: 6. "O herwydd nid yn fy *mwa* yr ymddiriedaf; nid fy *nghleddyf* chwaith a'm hachub;" h. y., holl arfau rhyfel.

Diar. 17: 10. "Un sen a ofna y call yn fwy, na phe baeddid y ffol *ganwaith*." Preg. 6 : 3. "Os ynill gwr *gant* o blant," &c.; h. y., *canwaith*, a *chant*, yn myned am luosogrwydd mawr.

Es. 55, 2, "Paham y gweriwch eich harian am yr hyn nid yw *fara*;" h. y., *bara*, am yr oll o ymborth.

Zeph. 2: 14, "A deadellau a orweddant yn ei chanol hi, *holl* anifeiliaid y cenedloedd;" h. y., holl rywogaethau anifeiliaid aflan y cenedloedd.

Mat. 3: 5. "Yna yr aeth allan ato ef Jerusalem a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen;" h. y.,, nid pawb o'r trigolion, oblegid yr oedd rhai yn ei gablu, ond lluaws mawr o honynt.

Act. 27 : 33. "Paul a eiriolodd ar bawb gymeryd lluniaeth, gan ddywedyd, Heddyw yw y pedwerydd

dydd-ar-ddeg yr ydych chwi yn dysgwyl ac yn aros ar eich cythlwng *heb gymeryd dim;*" h. y., heb gymeryd dim ymborth rheolaidd, neu dim mewn cyferbyniad i'r hyn a ddylasent.

8. *Gwrthdroad.*—Arferir hwn pan mewn terfysg meddwl, pryd y troir oddiwrth y testyn, gan anerch yr absenol neu'r marw, fel pe byddent yn bresenol, megys,

2. Sam. 18: 33. "A'r brenin a gyffrodd, ac a aeth i fyny i ystafell y porth, ac a wylodd: ac fel hyn y dywedodd efe wrth fyned; O fy mab Absalom, fy mab, fy mab Absalom: O na buaswn farw drosot ti, Absalom, fy mab, fy mab."

Es. 1: 2. "Gwrandewch, nefoedd; clyw dithau, ddaear; canys yr Arglwydd a lefarodd; megais a meithrinais feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm herbyn."

Jer. 47: 6, 7, "O cleddyf yr Arglwydd, pa hyd ni lonyddi? dychwel i'th wain, gorphwys a bydd ddystaw. Pa fodd y llonydda efe, gan i'r Arglwydd ei orchymyn ef yn erbyn Ascelon, ac yn erbyn glan y môr? yno gosododd ef.

Y mae y ffigyr hwn mewn arferiad mynych mewn barddoniaeth, yn neillduol mewn Marwnadau, megys yn Mawrnad G. Hiraethog i'r Parch. J. Roberts, Llanbrynmair:

"O angeu! O angeu! ysbeilydd dideimlad,
Hen loffudd cysuron dynoliaeth a'i hedd,
Wyt frenin y dychryn, a'th arfau yn wastad
Sydd barod i ymladd rhyfeloedd y bedd."

9. *Dringeb.*—trwy hwn esgyna pob gwrthddrych uwchlaw yr hwn a'i blaenorai, fel nodau yn y raddfa, megys,

Mat. 11: 5. "Y mae y deillion yn gweled eilwaith, a'r

cloffion yn rhodio, a'r cleifion gwahanol wedi eu glanhau, a'r byddariaid yn clywed; y mae y meirw yn cyfodi, a'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt."

2. Pedr 1: 5—7. "Chwanegwch at eich ffydd, rinwedd; ac at rinwedd wybodaeth; ac at wybodaeth gymedrolder; ac at gymedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb; ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol, ac at garedigrwydd brawdol, gariad."

## PENNOD IV.

TREFN. Y mae trefn yn angenrheidiol i rym, addurn, a llwyddiant pob peth. "Ei le i bob peth, a phob peth yn ei le." "Gwneler pob peth yn weddaidd, ac mewn trefn," sydd gyngor o awdurdod apostolaidd. Y mae gwahanol ddeddfau er gosod allan yr hyn a fwriedir yn drefnus ac effeithiol. Gellir dosranu y cyfansoddiadau rhyddiaethol i bedwar dosbarth:

1. *Yr Hanesyddol, neu y Darluniadol.*—Yn y dosbarth hwn rhoddir adroddiad o ddygwyddiadau, a'r personau fyddent mewn cysylltiad a hwy, y lleoedd y cymerasent le, ac o'r amgylchiadau y'nglyn a hwynt. Cynwysa hanesiaeth naturiol, grefyddol, wladol, a llenyddol; gan gymeryd i mewn hynafiaethau, cyfreithiau, arferiadau, celfyddydau, bywgraffyddiaeth, a llythyrau cyfrinachol, ffugdraethodau o bob math, mordeithiau a gwlad-deithiau. Mae cyfansoddiadau o'r dosbarth hwn, yn cyfeirio at wrthddrychau allanol, a gweithrediadau mewnol; ac at wrthweithiad y ddau hyn, a'r prif weithredyddion yn y digwyddiad. Wrth osod y rhai hyn allan, dylid gosod yr *amser* yn gyntaf, y *lle* yn ail, a'r *achos* yn drydydd.

2. *Yr Addysgiadol a'r Hyfforddiadol.*—Cymerir i mewn yn y dosbarth hwn, esboniadau ar y gwyddorau a'r celfyddydau, eglurhadau ar ieithoedd a geiriau, traethodau ar foesau da, a chynlluniau efrydiaeth, a phob peth sydd eisiau dysgu dyn am dano.

3. *Y Rhesymiadol.*—Perthyn i'r dosbarth hwn y mae traethodau athronyddol, a beirniadol; ymddyddanion, neu gydchwedleuaeth ddychymygol, areithiau, a dadleuon. I bob cyfansoddiad rhesymiadol mae yn rhaid fod *gwrthddrych*, am yr hyn y cynelir yr ymresymiad. Pan y bydd eisiau eglurhau y gwrthddrych hwn, rhaid cael *darnodiad.* Yna rhaid cael *barn* i gadarnhau yr hyn sydd ddymunol yn y gwrthddrych. Gelwir y farn yn *arddelwad.* Mae pob rhan o'r cyfansoddiad, ond y gwrthrych a'r arddelwad yn cynwys *rhesymiadau.* Nid yw mynych adrodd y gwrthddrych, a myned dros y farn yn aml, yn cadarnhau dim ar ei gywirdeb, nac yn dwyn i mewn unrhyw ymresymiad newydd dros ei gadernid. Y mae rhesymiadau naill ai yn amlygadwy, neu yn debygol; nid yw y cyntaf yn cymeryd i mewn ddim amheuaeth na phetrusdod; mae yr olaf yn cymeryd i mewn wahanol raddau o gydsyniad y deall. Y mae yr oll sydd yn *ddichonadwy* mewn rhyw ystyr yn *debygol*; ond y mae y meddwl yn naturiol ac o angenrheidrwydd, yn cyfrif tebygolrwydd unrhyw beth a gynygir i'w gredu, yn ol cyfartalrwydd ei gysondeb â chyd-ordeiniadau a dibyniadau adnabyddus. Prawf sydd gasgliad wedi ei dynu oddiwrth osodiad ymgymeredig neu adnabyddus. Nis gall prawf fod heb grediniaeth yn y gosodiad, ond gall y casgliad a dynir fod yn wir ar wahan oddiwrth y grediniaeth a dderbynia; oblegid gall fod diffyg craffder meddyliol priodol i am-

gyffred dylanwad y gosodiad yn mhenderfyniad y pwnc mewn golwg.

Gall prawf gael ei gadarnhau mewn tair ffordd. 1. Trwy *derfyniad*, h. y., trwy ddangos y gwnai y farn gyferbyniol wadu o angenrheidrwydd ryw wirionedd addefedig neu brofedig, tra mai eich un chwi yn unig sydd yn llenwi y lle goraf y mae y rhai hyn wedi adael. 2. Trwy *bentyriad*, h. y., trwy gyd-darawiad eich barn chwi a gwirioneddau profedig ac addefedig; a thrwy ddangos nad ydyw yn anghydweddu a'r un. 3. Trwy *gyfundraethiad*, h. y., trwy ffurfio penau tuag at arddangos cydolygiad y gwahanol ffeithiau a gwirioneddau profedig, ac addefedig.

4. *Y Cymelliadol.*—Prif amcan cyfansoddiadau o'r dosbarth hwn fydd dadebru y teimladau, er cynyrchu hyder, cariad, a dymuniad. Teimladau sydd i gynhyrfu gweithrediad, rheswm sydd i'w reoli. Daioni ydyw gwrthddrych y deall. Trwy y teimladau a'r serchiadau mae cyrhaedd yr ewyllys. Y mae mor bwysig i'r areithydd ddadebru y teimladau ag ydyw iddo oleuo y deall.

## PENNOD V.

HYAWDLEDD.—Anhawdd rhoi darnodiad cywir o wir hyawdledd. Perthyna i hyawdledd ddirgelwch mawr. Cynwysa siarad yr hyn sydd angenrheidiol, a dim ond hyny, a siarad nes cyrhaedd y pwynt cyfeiriedig. Rhaid dethol geiriau da a phriodol. Ni wna tywallt rhyw fath o eiriau mo'r tro. Rhaid hefyd cael medr i amrywio y llais. Y mae a fyno y llais â chynhyrfu y teimlad, ac y mae a fyno y teimlad â newid y meddwl, ac ysgogi yr ymadferthoedd. Y

mae y ddaear wedi cael ei bendithio amrywiol o weithiau â dynion gwir hyawdl, a gyrhaeddent waelodion teimlad y galon ddynol. Yn mha le y deuwn o hyd i hyawdledd a rydd anrhydedd ar yr enw? Dilynwn Pedr y Meudwy, yn galw gwahanol genedloedd Ewrop i "Ryfel y Groes." Gwrandawn ar Luther yn herio Cyngorfa Worms—ar Wilberforce yn dadleu achos y caethwas—ar araeth Chatham yn erbyn y rhyfel Americanaidd—ac ar Whitefield yn galw y caethwas i edifeirwch. Awn i mewn i Senedd Rhufain i glywed Cicero yn gwaradwyddo Cataline fel barnwr, neu dilynwn y lluaws yn Athen, i wrando ar yr hylithr Demosthenes yn galw arnynt i gychwyn yn erbyn Philip; a chlywn bob genau yn llefain oddiar wres calon—"Bydded i ni gychwyn yn erbyn Philip;" nac anghofiwn fyned i wrando Paul yn llys Agrippa, ac ar Iesu o Nazareth ar ochr môr Tiberias, neu ar ben un o fynyddoedd Galilea, yn llefaru fel un ag awdurdod ganddo, a diau y bydd i ni deimlo na "lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn."

1. *Rhagymadrodd.*—Dylai y rhan hon, fel pob rhan arall, fod yn deilwng o'r enw. Mae llawer yn edrych ar y Rhagymadrodd fel rhywbeth i gadw yr amser, ac i ddwyn meddyliau y gwrandawyr i gywair gwrando o ran amser, os gwrandawant rywbryd. Dylai prif bwynt yr hyn sydd genym i draethu arno fod yn amlwg yn y rhan hon. Dylai fod yn agoriad naturiol, mewn dull boddhaol a syml, at y gwirioneddau sydd genym i gyfeirio meddwl y gwrandawyr atynt. Ni ddylai fod yn ddyrys, gorfeirniadol, na maith. Dylai daflu goleuni ar y llwybr y bwriadir arwain meddwl y gwrandawyr ar hyd-ddo. Dylai fod mewn undeb a'r prif bwynt y traethir arno.

2. *Adroddiad.*—Rhaid i'r ffeithiau fyddant yn dal cysylltiad â'r pwnc gael eu hadrodd yn syml, cywir, trefnus, a boddhaol. Nid yw yn ddigon rhoi adroddiad o honynt i fyd, a gwneyd cydwybod o beidio dyweyd dim ond sydd yn gywir, ond rhaid i bob un fod yn ei le, yn arddangos trefn a gofal. Y mae peidio dwyn y ffeithiau cysylltiedig yn y dull hwn wedi gwneyd niwed annhraethol i holl gorph y gwir a gyflwynir; nid all ymlynu yn agos mor afaelgar yn y meddwl.

3. *Rhaniad.*—Er cynorthwyo i ddal a chofio yn dda yr hyn a gyflwynir, y mae rhaniad eglur, naturiol, a gofalus, yn wasanaethgar iawn. Dylai y rhaniad godi yn naturiol oddiar y testyn. Gofaler am gadw perthynas rhwng yr holl raniadau yn yr un cyfansoddiad.

4. *Rhesymiad.*—Gwaith y rhesymydd ydyw myfyrio y gelfyddyd o ymresymu. Gwaith y rheithegydd ydyw ei throi yn ymarferol. Y mae rheithegwyr yn barnu y dylai trefniad prawfiadau ymdebygu i drefniad y fyddin ar faes y frwydr; y mae yr ymosodiad cyntaf i gael ei wneyd gan y rhai gwanaf, tra y mae yr olaf i fod gan y rhai cyflymaf, er dwyn i ben y fuddugoliaeth, neu er dianc gyda'r egni mwyaf.

5. *Dadbrofiad.*—Y mae gwir a thwyll yn gymysgedig, fel y mae eisiau eu gwahanu. Rhaid i'r areithydd, nid yn unig brofi ei haeriadau ei hun, ond hefyd ddadbrofi haeriadau ei wrthwynebwyr.

6. *Y Cymwysiad.*—Dylai y cymwysiad gynwys holl elfenau y cyfansoddiad, wedi ei grynhoi—bywyd yr oll mewn ychydig o eiriau. Y mae y cymwysiad i ymdrechu troi y cwbl a glybuwyd i ymarferiad.

## PENOD VI.

GWASANAETH YMARFEROL RHEITHEG.—Gall rheitheg fod yn ddefnyddiol iawn i lenorion, beirdd, pregethwyr, areithwyr, a gweddïwyr cyhoeddus. Y mae cymysgu cydmariaethau, a cham-ddefnyddio geiriau wedi anurddo llawer traethawd, penill, pregeth, araeth, a gweddi. Ni charwn ddyfynu llawer o engreifftiau o hyn, rhag gwneyd gwawd o bethau cysegredig, yn enwedig pregethau, areithiau, a gweddiau. Gwell genyf gael tân yn y rhai hyn, er goddef rhai beiau blin, na gwrando ar rai coeth, os yn oerion a ffurfiol. Goddefer i mi ddefnyddio un engraifft a glywais gan y pregethwr pur a diwall, y diweddar Barch. W. Ambrose. Yr oedd gwr ieuanc wedi gweddio o'i flaen, gan ddefnyddio yr ymadroddion canlynol—"O Arglwydd, dos heibio heddyw yn ngherbyd dy gariad, a haua drwy ein gwlad hadau dy ras, nes y byddom yn cael ein hadeiladu ar ddelw dy Fab Iesu Grist." Dechreuai y gwr ieuanc gyda chydmariaeth *filwrol*, yn yr ail frawddeg defnyddia un *amaethyddol*, a gorphena mewn un *adeiladol*. Yr oedd hyn, i glust goeth Mr. Ambrose, yn annyoddefol. Er nad yw y Gymraeg yn hollol o dan yr un deddfau mewn gramadeg, areithyddiaeth, a rheitheg, a'r Saesoneg, eto ni oddef hithau i gymysgedd cydmariaethol, ac aflerwch ymadroddion gael aros mewn cyfansoddiad. Y mae tri o wallau cyffredin mewn ymarferiad—1. Defnyddio troelleiriau sathredig neu chwyddedig, pan y mae yr achos yn galw am un syml. 2. Trawsnewid o'r troellymadrodd dechreuol i un arall, neu i fynegiad anffigyrol. 3. Cymysgu ffigyrau hollol groes i'w gil-

ydd. Ceir engraifft o'r un gyntaf yn y mynegiad canlynol—"Cafodd y cynllun ei daro ar ei ben," yr hyn sydd yn rhy sathredig, a mwy priodol fyddai dweyd, "Cafodd y cynllun ei ddyrysu, neu ei lwyr atal." Dyma eto engraifft o'r ail—"Bydded i gwch fy nymuniad hwylio yn llwyddianus i borthladd eich calon, ac angori yn môr tawel eich caredigrwydd. Y mae arddull fel hyn mewn trafodaeth gyffredin yn rhy ddwyreiniol, mursenaidd, a chwyddedig i ateb i'r oes hon. Gellir nodi fel engraifft o'r trydydd—"Yr oedd y dyn ar dân teimlad, ond pan ddaeth ato ei hun." Y mae y troellair yn y frawddeg gyntaf yn eithaf priodol, ond nid yw yn dybenu yn naturiol, gan nad oes dim perthynas rhwng bod "ar dân," a dod "ato ei hun," yn y frawddeg olaf.

Y mae defnyddiad priodol o eiriau yn ychwanegu yn fawr at brydferthwch a nerth unrhyw gyfansoddiad llenyddol, boed draethawd neu fydryddiaeth. Yr wyf yn cofio yn nhy y diweddar Mr. Ellis Owens, Cefn-y-meusydd, i ofyniad gael ei roddi i mi, "Beth yw y gwahaniaeth rhwng 'dysgwyl' a 'gobeithio?'" "Gallwn *ddysgwyl* am beth," meddwn, "ffafriol neu anffafriol, y tybiwn a gymer le; ond ni *obeithiwn* am ddim ond sydd ffafriol, ac i'w ddymuno yn fawr." Gwelais ofyniad fel y canlyn, "Beth yw y gwahaniaeth rhwng 'dyledswydd' a 'rhwymedigaeth?'" A'r ateb a roddwyd ydoedd, "Dyledswydd yw yr hyn sydd ddyledus oddiwrth un bôd i'r llall; a rhwymedigaeth yw yr hyn a rwymwn ein hunain i'w wneyd, neu y rhwymir ni i'w wneyd gan y ddyledswydd."

Ond edrych dros y penodau blaenorol gellir gweled trwy ychydig astudiaeth, y modd y mae cadw o fewn

terfynau cyfaddas wrth gyfansoddi rhyddiaeth a barddoniaeth, ac mewn traddodi pregeth, neu araeth, neu offrwm gweddi. Nis gall traethodwyr, beirdd, a phregethwyr ieuainc yn enwedig, dreulio eu horiau hamddenol i well dyben nag efrydu Rheitheg. Pâr hyn iddynt gyfansoddi yn goeth a medrus, i ateb i'r chwaeth buraf.

---

## YR YSGOL SABBOTHOL.

*Pwy oedd Sylfaenydd yr Ysgol Sabbothol?*—Caed prawf yn 1880, yr hon a gynelid fel Blwyddyn Ganmlwyddol y sefydliad yma, mai anhawdd yw penderfynu y mater hwn yn deg a diamheuol. Rhoddir y clod i Robert Raikes, o Caerloyw, am ei chychwyn yn Lloegr; ac i Charles o'r Bala, am wneyd yr un gwasanaeth yn Nghymru. Ond ymddengys fod y meddylddrych mor bwysig i'r byd fel y mae yr Ysbryd Glan wedi ei gynyrchu mewn llawer o bersonau o wahanol wledydd a phleidiau. Yn 1671 sefydlwyd cymdeithas gan Dr. Tillotson, Deon Canterbury, er codi ysgolion yn Nghymru, a thaenu llyfrau yn yr iaith Gymraeg. Cyhoeddwyd argraffiad o 8,000 o Feiblau, a 46,000 o Destamentau gan y gymdeithas hon. Erbyn y flwyddyn 1691 yr oedd 3,185 o ysgolion dyddiol a Sabbothol wedi eu sefydlu, a 150,213 wedi cael eu dysgu i ddarllen eu Beiblau, a llyfrau da eraill. Fel yna y mynegir yn hanes bywyd Dr. Tillotson. Tystiai amryw offeiriaid am y lles a wnaethant yn eu plwyfi. Dyma dystiolaeth y Parchn. John Thomas, Ficer Panteg; a Richard Harris, Ficer Aberdare; yn nghyd a lluaws eraill. Rhydd y Parch. Peter Thomas, cur-

ad Gelligaer, yn 1732, ddarluniad o'r adfywiad cryf a dorodd allan yn holl eglwysi y parthau hyny trwy yr ysgolion hyn. Mynega yr un offeiriad yn 1735 fod canoedd o bobl o bob oedran a rhyw yn dyfod i'r Ysgolion Sabbothol.

Hefyd nyni a gawn i'r Parchn. Thomas Gauge, o Middlesex; a Stephen Hughes, o Sir Gaerfyrddin, yn y flwyddyn 1677, sefydlu oddeutu pedwar cant o "Ysgolion Darllen," y rhai a gynelid ar y Sabboth yn gystal ag ar yr wythnos trwy Ddeheudir Cymru. Nyni a gawn fod ysgolion Sabbothol yn nglyn ag eglwysi Cynulleidfaol Treforris, a Chastellnedd, yn 1697. Tra thebyg mai oddiwrth ysgolion Gauge a Hughes y gwnaeth y Parch. Morgan Jones gychwyn ysgolion cyffelyb yn y wlad hon, yn Newton, Long Island, N. Y., a manau eraill oddeutu 1683. Nyni a gawn hanes am Ysgol Sabbothol yn Lancaster Co., Pa., o 1730-40, ac yr oedd dwy neu dair yn yr un cyfnod yn Lloegr Newydd. Ceir hanes fel hyn am amryw Ysgolion Sabbothol hwnt ac yma, o ddeg i dros gan mlynedd cyn dyddiau Raikes.

Ond nid yw hyny i leihau clod Raikes mewn un modd, oblegid rhaid i bawb gyfaddef mai efe a roddodd gychwyniad i'r Ysgol Sabbothol fel sefydliad a fabwysiadwyd yn lled gyffredinol gan agos bob enwad yn y gwahanol wledydd. Achlysurwyd ei chychwyniad trwy i Raikes gael ei gynhyrfu gan resyndod wrth weled agwedd isel a phechadurus plant gweithfa pinau yn Caerloyw. Ymddyddanai am danynt â gwraig o'r enw Mrs. Lane, yr hon a ddywedai wrtho, "Beth pe gwelech hwynt ar y Sabboth, a chlywed eu rhegfeydd erchyll; y mae y lle yn debycach i uffern na dim ar-

all!" Aeth hyn yn fawr at ei galon, ac wedi ymgyngori a'r Parch. T. Stock, curad y plwyf, penderfynwyd agor ysgol ar y Sabboth er eu dysgu. Cyflogodd bedair o wragedd cymwys at y gwaith, ac ar foreu Sabboth yn nechreu Gorphenaf, 1780, dygwyd y plant gwylltion a charpiog hyn o dan addysg. Bu y Parch. B. W. Chidlaw, yr hwn sydd wedi treulio y rhan fwyaf o'i oes yn nglyn a'r Ysgol Sabbothol, gyda nifer o genadon a merched parchus o'r America fuont yn yr Wyl Ganmlwyddol yn Llundain, yn ymweled a'r ty lle y cynhaliwyd yr Ysgol Sabbothol gyntaf yn Nghaerloyw, a bu y brawd Chidlaw yn gweddio yno, gan ddiolch i Dduw am y fendith anmhrisiadwy a darddodd o gychwyniad mor fychan. Aeth son am y mudiad daionus a gychwynodd Raikes ar led i bob cyfeiriad. Cydiodd Wesley yn y mudiad, a Rowland Hill, ac amryw eraill. Clywodd y Frenhines Charlotte am dano, a galwyd am Raikes i ddyfod i'w gwydd, gael mynegi iddi yn fanylach am yr achos da hwn.

Ni adawodd Duw i Gymru fod yn ol o fendithion cynarol a gwerthfawr oddiwrth y sefydliad gogoneddus hwn. Llafuriai Dr. Edward Williams, brodor o Ddinbych, ac un o dduwinyddion penaf yr oesau, yn 1780, yn Nghroesoswallt, a dechreuodd ei ferched ef ymgymeryd a dysgu nifer o ferched ar y Sabboth yn y dref hono, a gwnaeth Dr. Williamswasanaeth pwysig yn nglyn a chychwyniad yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru. Felly y gwnai Dr. George Lewis, yr hwn oedd yn weinidog gyda y Cynulleidfaolwyr yn Nghaernarfon; a'r Parch. Morgan John Rees, gweinidog gyda y Bedyddwyr yn Pontypool, yr hwn a ymfudodd i

America yn 1794, ac a ymsefydlodd yn Ebensburg, Pa., yn 1796, ac y mae ol ei lafur gyda'r Ysgol Sabbothol yn Nghymru ac America hyd y dydd hwn.

Ond er cydnabod gyda diolchgarwch wasanaeth gwerthfawr y dynion da a enwyd, rhaid i ni roddi yr un flaenoriaeth i Charles o'r Bala yn Nghymru, ag a roddwyd i Raikes yn Lloegr. Efe, trwy ei alluoedd ardrefniadol, a'i ymrodd bron diail yn teithio ac yn ymweled yn bersonol ag agos bob lle yn Ngogledd Cymru, a ddaeth a'r Ysgol Sabbothol yn sefydliad cryf a phoblogaidd yn Nghymru. Oddeutu y flwyddyn 1785, sef pum' mlynedd ar ol Raikes, y cychwynodd yr Ysgol Sabbothol gyntaf yn y Bala, ac erbyn 1788, rhyw dair blynedd wedi hyny, yr oedd nifer yr Ysgolion Sabbothol yn Nghymru yn 177, trwy ei lafur ef yn benaf, er nad yn hollol. Llwyr ymgysegrodd Charles i'r gwaith. Gwyliai y cynydd a wneid, a gwnai bob peth er ei hyrwyddo. Cyhoeddodd dri o lyfrau yn benodol i gefnogi addysg yr Ysgol Sabbothol, sef y "Sillydd," "Yr Hyfforddwr," a'r "Esboniad ar y Deg Gorchymyn." Yr oedd y cyntaf yn hynod o wasanaethgar, gan ei fod yn cynwys mân gyfarwyddiadau gwir angenrheidiol i'r Cymry eu gwybod. Ni chafodd y trydydd y sylw a ddylasai. Ond am yr "Hyfforddwr" deil ei gydmaru a'r Holwyddoregau goreu yn yr oes hon. Hefyd yr awydd mawr am ddarllen y Beibl a gynyrchwyd yn yr Ysgolion Sabbothol, a fu yn un o'r prif foddion i gychwyn y Gymdeithas Feiblau. Profir hyn yn hanes Mary Jones, Ty'nddol, Llanfihangel, yr hon a gerddodd o'i chartref i'r Bala, pellder o bump i ddeg ar hugain o filldiroedd, at Mr. Charles, i ymofyn Beibl. Aeth

Mr. Charles a'r gwyn o brinder o Feiblau yn Nghymru i Lundain, ac wrth geisio darparu ar gyfer angen Cymru, meddyliwyd am gael "Beibl i bawb o bobl y byd."

*Dylanwad da yr Ysgol Sabbothol.*—Y mae yn anhawdd traethu y filfed ran o'r daioni a wnaeth yr Ysgol Sabbothol dros y byd, ac yn arbenig i'n cenedl ni. Ar amryw ystyron yr ydym yn fwy dyledus i'r sefydliad da yma na'r un genedl arall ar y ddaear. Y mae wedi bod yn neillduolrwydd ein Hysgolion Sabbothol o'r dechreu, fod pob oedran yn dyfod iddynt—o'r plant ieuengaf allant dderbyn addysg, hyd at yr hen bobl ar fin y bedd. Enwn rai o'r bendithion mawrion a gawsom trwy yr Ysgol Sabbothol—1. Y mae wedi bod yn fagwrfa dda i'r eglwys. Caed nid yn unig ryw luoedd o aelodau o honi, ond dyma unig athrofa rhai o'r pregethwyr cyntaf, a bu yn gychwynfan i'r tô dysgedig presenol. Oddiyma y cawsom genadon o'r bri uchaf i fyned i China, India, Affrica, Ynysoedd Môr y De, ac yn arbenig Madagascar. 2. Y mae wedi codi Cristionogion nodedig o ffyddlon a chymwys yn holl ranau yr eglwys. Cawsom oddiyma y meistri mwyaf teg, a'r gwasanaethyddion a'r gweithwyr mwyaf diwyd a gonest; y cyngorwyr mwyaf priodol, y gweddiwyr mwyaf ysgrythyrol a gafaelgar, y cantorion mwyaf defnyddiol, a'r diaconiaid mwyaf dylanwadol a chysegredig, a'r mamau a'r chwiorydd mwyaf tyner a gwasanaethgar, a'r cymydogion mwyaf heddychol a charedig. 3. Ac y mae wedi bod yn amddiffynfa gref i ni rhag anffyddiaeth a Phabyddiaeth. Y mae yn syndod fod cenedl mor llawn o yni meddyliol ac ymchwiliadol wedi cael ei chadw mewn oes mor

agored i gyfeiliornadau, bron, os nad yn drwyadl, rydd oddiwrth lyfrau, cylchgronau, a newyddiaduron anffyddol a hereticaidd. Nis gellir rhoi yr holl glod i'r Ysgol Sabbothol am hyn—dylai y pwlpud, a'r wasg, a'r aelwyd grefyddol ac efengylaidd gael rhan o hono; ond eto y mae yn wirionedd a saif yr ymchwiliad manylaf, fod yr Ysgol Sabbothol wedi gwneyd gwasanaeth anmhrisiadwy yn yr ystyr yma.

*Nodweddion presenol yr Ysgol Sabbothol.*—Y mae wedi dyfod yn allu mawr dros y byd. Ceir oddeutu deuddeg miliwn o bob oed—ond y mwyafrif o lawer yn blant—o dan ei haddysg bob Sabboth, ac y mae dros haner y nifer yna yn yr America. Yn ol y cyfrifiad diweddaf a welais yr oedd 82,000 o Ysgolion Sabbothol yn y wlad hon, a barna un hyddysg yn ei hanes y bydd o 83,000 i 85,000 o honynt cyn diwedd y flwyddyn hon. Y mae yr *International Lesson*, yr hon a ellir yn briodol alw yn "Wers pob gwlad," wedi rhoi bywyd newydd ynddi y blynyddoedd diweddaf; ac y mae yn hyfrydwch genyf gofio i mi fod yn un o'r rhai cyntaf (os nad y cyntaf oll) i'w dwyn i sylw ein cenedl o wythnos i wythnos yn y *Wasg*, am 1873–4. Nid yw sefydliad sydd wedi dyfod yn allu mor gryf heb ei beryglon, yn gystal a'i fanteision. Gellir dysgwyl, lle y mae cynifer o bobl ieuainc o sel frwdfrydig, a'u profiad yn gyfyng, a'u barn heb fod yn addfed, fod eisiau bod yn wyliadwrus wrth gario y gwaith yma yn mlaen. Gosodir *red lights* ar linellau y rheilffyrdd mwyaf gorphenol a gofalus, ac y mae eisiau rhybuddion priodol yn nglyn â dygiad yn mlaen yr Ysgol Sabbothol. Gellir enwi tri rhybudd sydd yn briodol iawn i Ysgolion Saesnig, ac i fesur helaeth i'r rhai

Cymreig. 1. Gwneyd yr Ysgol yn allu annibynol ar yr eglwys. Gosodir personau mewn swyddi na feddant y cydymdeimlad lleiaf a'r eglwys, a phasir mesurau weithiau gwrthdarawiadol i'r eglwys. 2. Gwneyd newidiadau rhy fynych, gan dybio fod pob cyfnewidiad yn gyfystyr a diwygiad, ond y mae gwahaniaeth pwysig rhyngddynt. 3. Myned yn rhy hanesyddol, daearyddol, ac arwynebol, gyda y wers osodedig, a thalu rhy fach o sylw i dduwinyddiaeth, ac athrawiaethau sylfaenol crefydd. Y mae hanes crefydd yn dangos yn amlwg mai y rhai sydd yn efrydu athrawiaethau sydd yn cael y cymelliadau yn gystal a'r cyfarwyddiadau goreu at fywyd ymarferol crefydd. Seiliai Paul yn wastad yr ymarferol ar yr athrawiaethol. Er codi yr Ysgol Sabbothol i dir uwch mewn duwinyddiaeth, anogir naill ai cael dwy wers, neu adael y dosbarthiadau hynaf yn rhydd heb yr un am rai misoedd, neu yr oll o'r flwyddyn.

*Galwad gyffrous ar yr eglwys i gefnogi yr Ysgol Sabbothol.*—Os ydyw yr Ysgol wedi myned yn allu rhy annibynol, yn sicr y mae y prif achos o hyn yn yr eglwys ei hun, trwy esgeuluso dyfod i'r Ysgol, ac edrych ar ei gwaith yn israddol i waith cyffredin rhanau eraill o'r eglwys. Y gwir yw, adran o'r eglwys yw yr Ysgol Sabbothol. Mewn rhai manau y mae yr eglwys yn dewis swyddogion yr Ysgol fel pob swyddog arall. Yn ol sefyllfa bresenol pethau, o'r braidd y mae hyn yn deg—o'r hyn leiaf ni ddylai hyn gael ei wneyd mewn eglwysi lle y mae y rhan fwyaf o'r aelodau yn absenol eu hunain o'r Ysgol. Ond pe y ceid yr aelodau yn lled gryno i'r Ysgol, ni fyddai fawr o bwys yn mha ffordd y dewisid y swyddogion. Yn sicr ni

ellir beio fod swyddogion yn yr Ysgol Sabbothol heb fod yn aelodau o'r eglwys os na ddaw yr aelodau i'r Ysgol. Y mae gwaith yr Ysgol yn ddigon urddasol i'r aelodau mwyaf gwybodus a duwiol; nid yw ond cario allan orchymyn Crist i Pedr, "Portha fy wyn," "Bugeilia fy nefaid," "Portha fy nefaid." Dylai yr eglwys roi mwy o'i bryd ar yr Ysgol, a gofalu fod ganddi ddigon o athrawon ac athrawesau cymwys i gario yn mlaen ei gwaith yn effeithiol. Ni ddylai y gweinidog yn anad dim fod yn esgeulus o'r Ysgol Sabbothol. Os bydd yn cael ei alw i le arall i wasanaethu crefydd, dylai pawb ddeall fod ei galon yn bleidiol i'r sefydliad da yma. Y mae yn wir fod rhai gweinidogion yn teimlo petrusder beth yw y goreu iddynt a'i myned i'r Ysgol neu beidio, rhag i neb dybio eu bod am orfaelio yn llywodraethiad yr Ysgol. Gwelwyd rhai swyddogion yn hytrach yn anfoddlawn i'w gweinidog ddyfod i'r Ysgol, eithr fel rhyw ymwelydd achlysurol, rhag iddo ymyraeth a'i swyddogaeth. Ond y mae pob gweinidog call a da yn sicr o adael swyddogaeth yr Ysgol yn gyfan fel y trefnir hi gan yr Ysgol, a dangos pob parodrwydd i wasanaethu yr Ysgol yn mhob modd y gall, neu y gelwir ef gan yr Arolygydd, neu yr Ysgol ei hun. Hefyd y mae eisiau i'r eglwys ymroi i gadw yr Ysgol mewn awyr grefyddol. Ceisio enill pawb i ddwyn yn mlaen ei gwaith yn ofn Duw, ac oddiar gariad at Iesu Grist. Ond gwneyd hyn y mae dyddiau braf o flaen yr Ysgol a'r eglwys eto yn y cyfnod sydd ar wawrio ar grefydd dros y byd. Yr wyf fi, gyda miloedd eraill, yn barod i ddiolch i Dduw am fy arwain erioed i'r Ysgol Sabbothol. Boed myrdd a myrdd o fendithion ar y sefydliad rhagorol yma.

## AMERICA A'R CYMRY.

Y mae y Cymry wedi gosod eu marc yn annileadwy ar hanes America o'r dyddiau boreuaf hyd heddyw. Nid rhyw honiad gwag yw hwn, fel y caf ddangos yn yr erthygl hon. Nid wyf mewn un modd am gymeryd yr olwg eithafol a gymer rhai yn eu sel genedlaethol, gan sicrhau yn ddibetrusder fod America wedi ei darganfod gan Madog ap Owain Gwynedd a'i wyr yn mhell cyn dyddiau Columbus, oddeutu y flwyddyn 1170. Nid wyf am wadu na chadarnhau yr hen draddodiad yma. Yr wyf wedi darllen yr oll a ddaeth o blaid ac yn erbyn y dyb hon o fewn fy nghyraedd hyd heddyw. Os oes genyf ogwyddiad y naill ffordd neu y llall, y mae at amheu y traddodiad yma; ond eto yr wyf yn barnu nad yw yr achos wedi cael ei chwilio i'r manylder y dylai gael cyn ei gwbl wadu. Y mae genyf ohebiaethau oddiwrth amryw lenorion a hynafiaethwyr sydd yn glynu yn dŷn wrth yr hen draddodiad. Y mae yn deg, modd bynag, gohirio cyhoeddi barn derfynol ar y mater. Oes darganfod hen lawysgrifau cuddiedig, a phrawfion newyddion yn nghlyn â thestynau hanesyddol, yw hon, a gall droi felly yn nglyn â hyn. Y mae yn deg i mi droi i ymchwilio trwy yr hen wledydd, a'r wlad hon, yn mhellach i'r mater. Credir yn lled gyffredinol fod olion hen wareiddiad dros ranau eang o'r wlad hon, ac y mae yn ddichonadwy fod gwyr Madog wedi gadael eu hôl ar ryw gyfnod. Modd bynag, y mae yn eithaf dichonadwy i lwyth o'r fath syrthio i gyflwr gwyllt ac anwar. Ond beth bynag a ddaw o'r hen draddodiad hwn, y mae yn sicr na chafodd yr Americaniaid pres-

enol un budd oddiwrth ymfudwyr y cyfnod hwnw, na thrigolion yr hen wledydd un sicrwydd trwyddynt am y gorllewin-fyd.

Ond mewn cyfnod diweddarach yr ydym yn barhaus yn dod o hyd i rai o'n cenedl ni yn cymeryd rhan yn mhob sefydliad a mudiad o bwys. Yn 1607, ar ol ugain mlynedd o wahanol gynygiadau aflwyddianus, y gwnaed y sefydliad parhaus cyntaf o'r Saeson ar lan yr afon James, yn Virginia, ac yr oedd yn mysg y rhai hyn amryw Gymry, fel y profa hanesiaeth anwadadwy, wrth ddilyn yn mlaen hyd ddyddiau y Chwyldroad yn 1776. Aeth amryw i Newfoundland, ac ni a gawn Syr William Vaughan, Cymro Puritanaidd, yn cyhoeddi llyfr o'r enw "*Golden Fleece*" yn 1626, er anog a chyfarwyddo rhagor o Gymry i ddyfod allan i sefydliad Cymreig a gychwynwyd ganddo yn neheubarth Newfoundland. Ymsefydlodd y Tadau Pererinol yn Plymouth, Lloegr Newydd, yn 1620, ac yr oedd amryw bersonau yn y *Mayflower*, y llong a ddaeth a'r fintai gyntaf i'n gwlad, yn dwyn enwau ac achau Cymreig, os nad yn Gymry o ran iaith. Yn eu mysg yr oedd Cadben Jones, llywydd y llong, a cheir yr enwau canlynol yn mysg y teithwyr: Thomas Rogers, Stephen Hopkins, John Alden, a John Howland, y rhai yr honir eu bod yn Gymry. Fel y cynyddai y sefydliad yma, ac yr ychwanegid y sefydliadau, nyni a gawn yr enwau Cymreig yn britho hanesiaeth Lloegr Newydd. Y mae yma fwnfa hanesiol heb ei haner weithio eto, ac y mae yn sicr y daw cyfnod y rhoddir gwerth llenyddol pwysig ar y ffeithiau hyn, sydd eto gan mwyaf yn gudd. Yr oedd y Parch. Hugh Peters, gweinidog Salem, Massachusetts, yn en-

edigol o Cornwall, ac nid oedd y Gernywaeg (cangen o'r Gymraeg) wedi llwyr ddarfod hyd ddiwedd y ddeunawfed ganrif. Ac am Roger Williams, sylfaenydd Rhode Island, y mae yn eithaf hysbys mai un genedigol ydoedd o Lansawel, Sir Gaerfyrddin, a daeth drosodd i'r wlad hon yn 1630–1. Gan nad faint a wadir ar achau Cymreig ein cyn-Arlywydd, y Cadfridog James A. Garfield, y mae yn eithaf sicr ei fod ef yn credu yn ei darddiad Cymreig. Dyna ddywedai flynyddoedd cyn meddwl am yr Arlywyddiaeth, wrth amryw bersonau credadwy. Anfonwyd fi i Washington yn mis Mawrth, 1877, i gyflwyno deiseb i'r Arlywydd Hayes, yn taer ddymuno arno roi eu cyfran briodol i'r Cymry, fel pob cenedl arall, o'r swyddi oeddynt wrth ei ewyllys i benodi rhai iddynt, ac yn mysg llu o Gymry o fri yr oedd y Cadfridog Garfield wedi ei harwyddo, ac addawai ei chefnogi hyd eithaf ei allu, ond yr oedd oddi cartref ar y pryd. Modd bynag, wedi iddo gael ei ddewis yn Arlywydd, anfonais lythyr ato i'w lon-gyfarch, ac i holi yn mhellach yn nghylch ei darddiad Cymreig, a dyma gopi cywir o'r atebiad a gefais oddiwrtho, a rhoddaf ef heb ei gyfieithu, fel y câ pawb yr un fantais a minau i dynu eu casgliadau oddiwrtho:

"MENTOR, Ohio, July 19, 1880.

*H. E. Thomas, D.D., 86 Ross St., Pittsburgh, Pa.*

DEAR SIR—Yours of the 15th inst., is at hand. I do not know with certainty the origin of my ancestors. I can trace them as far back as Edward Garfield, who, it is said, came to Massachusetts about 1630, from near Chester, England. Family tradition is that he was a Welshman, though some authorities indicate that he was English. With thanks for your letter, I am,

Very truly yours, J. A. GARFIELD."

Yn awr fe welir nad yw ef yn awgrymu dim am Gaerphili yma, ond nid wyf fi yn gwadu nac yn cadarnhau y dyb mai oddiyno y tarddodd. Hefyd er mwyn bod yn deg, fe welir nad yw efe mewn un modd yn datgan ei farn ei fod o waedoliaeth Gymreig, ond yn mynegu y ffaith fod hyny yn "draddodiad teuluaidd." Wrth i ni geisio gwneyd allan ei achyddiaeth, oddiwrth yr hyn a dystia yma, y mae yn gofyn i ni wybod rhywbeth am Chester (Caerlleon), a'r cyffiniau. Wrth edrych dros hanes y parth yma yr ydym yn cael ei fod yn agos i Glawdd Offa, lle y mae cymysgedd o Gymraeg a Saesneg ar enwau personau, cystal a lleoedd. Ceir yno gyfieithiad o enwau Cymreig, megys Greenfield, o Maesglas; a Seisnigeiddir geiriau Cymreig, megys Gresford, am Groesffordd. Ceir lluaws o enwau fel hyn rhwng Caer, a Threffynon, a'r Wyddgrug, a Wrexham. Nyni a gawn luaws o enwau yn terfynu yn *field* yn y parthau hyn, megys Bronfield, Bromfield, Byfield, Dukenfield, Gwynfield neu Wynfield, Oatfield, Scholefield, &c. Er ceisio gwneyd allan darddiad Garfield, rhag i neb dybio fy mod yn ystwytho pethau i ateb yr amgylchiadau presenol, cymeraf yr agoriad i hyn o hen lyfr sydd yn fy meddiant, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1674, o waith William Camden, ac eraill, lle y ceir nodiadau manwl ar darddiad "*Names and Surnames.*" Dengys fod hen enwau y Brythoniaid yn cael eu cymeryd lawer oddiwrth liwiau megys, Lloyd, o "llwyd"—*brown or gray;* Gough, o "goch"—*red;* Wynne, o "gwyn"—*white or fair.* Hefyd dengys yr hen lyfr yma fod llawer o enwau wedi eu cymeryd oddiwrth drefydd, afonydd, a lleoedd yn Normandy; effeithiodd hyny ar y Saeson i fathu

enwau a chyfenwau oddiwrth leoedd. Felly ceir i fesur yn mysg y Cymry. Dyfynir yma ddwy linell fydryddol—

"By Tre, Ros, Pol, *Caer*, and Pen,
You may know the most Cornish men."

Os oedd hyn yn wir am enwau Cernyw; gall fod yn llawn mor wir am enwau Cymru. Yn awr y mae Garfield yn cael ei wneyd i fyny o ddau air—*Gar* a *field*. Y mae *Gar* yn Gymraeg diamheuol. Fel hyn y dywed yr hen lyfr—"*Caer—Brit., a fortified place or city.*" Lle felly yw Caerlleon. Felly y tebygrwydd yw fod y gair cyntaf yn *Garfield* wedi dyfod oddiwrth ddinas Caer, neu ryw amddiffynfa arall. Beth am *field*? A chadw mewn golwg yr hyn a ddywedir yn llythyr y cyn-Arlywydd fod ei gyndad o "near Chester," gall *field* fod yn cyfeirio at *faesdref* (*suburb*) Caer, ac os ydoedd cyndad Garfield yn dyfod o "*faesdref*" Caer, gallasai gael ei alw fel un o blant y maesdref yn *Garfield—a native or inhabitant of the suburb of Chester.** Rhydd Camden luaws o enwau Seisonig sydd wedi eu bathu fel yna. Ond yn awr pa sail sydd i'r dybiaeth mai Cymro ydoedd? Gall y traddodiad mai Cymro ydoedd fod yn drwyadl gywir os ystyriwn gymaint o Gymry oedd yn byw yn Nghaer a'r cyffiniau y pryd hwnw, fel sydd yn awr, ac yr oedd y gwaed Cymreig yn rhedeg trwy y teuluoedd parchusaf yn Nghaer, a thrwy Loegr, fel y profa y diweddar Dr. Nicholas yn ei lyfrau godidog ar y mater hwn. Darllener y rhai hyny, a cheir cyflawn foddlonrwydd

*Rhoddodd Edward y Black Prince, ddynodiad manwl o derfynau Caer, sef 12 i 14 milldir o amgylchedd. Gwel "Encyclopedia Britannica" o dan y gair "Chester."

ar y pwnc. Gadewch i ni ymholi eto, Pa fodd y daeth teulu Garfield i Loegr Newydd? Y mae "*Non-conformity in Cheshire,*" llyfr o waith amryw weinidogion a lleygwyr, gyhoeddwyd yn 1864, yn rhoi digon o reswm am hyn. Yr oedd ysbryd Puritanaidd cryf yn Sir Gaer yn 1604. Erlidid y Puritaniaid yn llym yn nyddiau yr Archesgob Bancroft, a gorfu i rai o honynt ffoi i Holland. Weithiau deuai yn fwy heulog arnynt, yn enwedig o dan yr Esgob Lloyd. Ond cymylai drachefn arnynt yn y blynyddoedd 1625–27, a 1629–40, y rhai oeddynt yn flynyddoedd terfysglyd a blin arnynt. Dyna y cyfnod y daeth Edward Garfield i Massachusetts. Wedi i'r Puritaniaid erledigaethus glywed fod y Pererinion a ddaethant drosodd i Loegr Newydd yn 1620 yn cael rhyddid i addoli Duw yn ol argyhoeddiad eu cydwybod, teimlai llawer o'r dosparth mwyaf dysgedig a duwiolfrydig, a lled gyfoethog o honynt, awydd i ymfudo. Fel y nodwyd, dyma yr adeg y daeth Roger Williams drosodd. Nid wyf mewn un modd yn sefyll yn dŷn dros y ddamcaniaeth wyf wedi gynyg yn nglyn â Garfield, ond y mae yn llawn mor debygol a'r un a welais eto yn ei gylch, ac yn sylfaenedig hollol ar yr hyn a ddywed ei hun yn ei lythyr ataf. Gan nad o ba achau yr ydoedd, edrychaf fi a miliynau eraill arno fel

"Garfield dda, Garfield dduwiol."

Ond y mae diwrnod yn dod y cawn wybod mwy am hen Gymry Lloegr Newydd. Y mae Coleg enwog Yale, yn New Haven, Conn., yn dwyn enw Cymro o Plas yn Yale (Ial), yn agos i Rhuthyn, G. C. Ac o ba le y daeth yr enw Bangor, yn Maine, ond oddiwrth

Bangor Cymru? Cawn yno enwau Cymreig yn llu mawr—Davies, Edwards, Thomas, Williams, &c.

Yr ydym yn awr yn dyfod at y cyfnod y mae genym yr hanes mwyaf cyflawn am dano o'r un yn nglyn ag ymfudiaeth y Cymry i'r America yn y blynyddoedd gynt, sef ymfudiad y Cyfeillion, neu fel yr adwaenir hwynt yn gyffredin, y Crynwyr, o dan arweiniad William Penn, yn 1682. Ymddengys mai o Sir Feirionydd yn benaf y daeth y fintai gyntaf, ac ychydig o Caerwys, Sir Fflint. Yr oeddynt o dan erledigaeth enbyd o 1660 i 1688, ac yn wir, felly yr oedd yr hen Anghydffurfwyr, yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr, er nad efallai i'r un graddau a'r Crynwyr. Cafodd un John ap Thomas, Llaithgwm, ger y Bala, boneddwr gweddol gyfoethog o ran ei amgylchiadau, ei argyhoeddi o wirionedd credo y Cyfeillion yn 1672, ac o'r dydd hwnw allan bu yn ffyddlon i'w broffes yn ngwyneb gwawd ac erledigaeth mawr. Am y ddau gyfarfod cyntaf y bu ynddynt cafodd ei ddirwyo i bymtheg punt, a chymerwyd oddi arno ych a cheffyl, gwerth unbunt-ar-ddeg yr un, ac ni ddychwelwyd dimai iddo o'r hyn oedd dros ben y ddirwy. Cafodd un Samuel Humphreys ei garcharu yn ngharchar y Bala, yr hwn a elwid yn *House of Correction*, ac achwynir ei fod y pryd hwnw yn cael ei gadw yn aflan iawn. Gwnaed John ap Thomas yn uch-gwnstabl, gan fod llawer o'r boneddigion yn meddwl yn uchel o hono fel dyn. Tra yn y swydd hon peryglodd ei ystad i achub ei gyfeillion, gomeddai roi y gwarantau mewn gweithrediad. Yn mysg y personau yr oedd gwarantau yn eu herbyn nyni a gawn enwau Willian Prees (Price?), o "Llanderfol" (Llandderfel?), Litter Thomas, John

Davies, a Lodovicus ap Robert, o'r un lle; Thomas ap Edward, o Llanfawr, Thomas Williams, ac Elizabeth Thomas (gwraig weddw), a Robert John Evan, o'r un lle; a Griffith John, o Gwerefol (?) ac Elizabeth ei wraig, Hugh Griffith a Mary ei wraig, yn nghyd a Maurice Morgan o'r un lle. Yn mysg y rhai hyn enwir Elizabeth Williams fel un o'r troseddwyr gwaethaf. Yr oedd hi yn arfer pregethu, ac yn mysg y rhai blaenaf o'r Cyfeillion, yn ddynes ddysgedig a medrus. Erlidiwyd hi yn Caergrawnt, Lloegr, gyda Mary Fisher, yn 1653, pan yr oedd yn haner cant oed; cafodd ei fflangellu yn drwm, nes y llifai y gwaed i lawr ei chefn, a rhwygwyd ei chnawd yn druenus. Gosododd ei hun yn agored i gael ei llosgi fel yr oedd y gyfraith y pryd hwnw, ond trwy drugaredd ni weinyddwyd y gosp hono arni. Wedi dyoddef erledigaethau a dirwyon llymdost yn herwydd eu crefydd, penderfynodd amryw ymfudo. Yr oedd William Penn, yn 1681, wedi cael rhodd o dir ar ochr orllewinol y Delaware, gan Charles yr ail, ac yr oedd yn brysur barotoi mintai i fyned allan gydag ef y flwyddyn ganlynol—1682. Yn y flwyddyn 1681, neu yn gynar yn 1682, cyhoeddodd William Penn bamphledyn yn dwyn yr enw "Hysbysiaeth a Chyfarwyddyd i'r personau hyny ydynt yn cael eu tueddu tuag at America." Cafodd llawer eu "tueddu" trwy y pamphledyn a nodwyd, a moddion eraill, i ymfudo. Bu John ap Thomas, yn Llundain yn mis Mai, 1681, ac mewn ychydig fisoedd wedi hyn nyni a'i cawn ef a'i gyfaill Edward Jones, "chirurgeon"—*surgeon*, meddyg, yn prynu drostynt eu hunain, a dau-ar bymtheg o deuluoedd, bum' mil o erwau o'r tir a roddwyd i William

Penn, am gan' punt. Talodd John ap Thomas bum'-punt-ar-hugain, ac felly yr oedd iddo 1250 o erwau. Llawn fwriadai ef a'r teulu ymfudo yn 1682, ond gwanychodd ei iechyd, a pharhaodd i waelu, fel y bu farw ar y 3ydd o Fai,* 1683, a chladdwyd ef yn mynwent y Crynwyr yn agos i glwyd Hafodyfadog, ger y Bala, ac y mae genyf gof i fy mam, pan oeddwn rhwng chwech a saith oed, fy nghodi dros y clawdd i mi gael myned i'r fynwent. Nid oedd yno yr un gareg fedd hyd y gwelais; dim ond lle wedi ei gau i mewn i wneyd *nurse* fechan. Ychydig a feddyliai fy mam, a llai na hyny a feddyliwn i, y daethwn i gyffyrddiad â'i ddisgynyddion yn yr America yn 1881. Modd bynag aeth ei gyfaill Edward Jones, gydag Edward Rees, William ap Edward a'i wraig, deugain yn yr oll, i'r America, yn y llong "*Lyon*," o Liverpool, ac wedi bod un-wythnos-ar-ddeg ar y môr yn ymladd â gwyntoedd gwrthwynebus, cyrhaeddasant i'r afon Schuylkill, ar y trydydd ar-ddeg o Awst, 1682. Anfonodd Edward Jones y newydd am eu glaniad diogel at ei gyfaill John ap Thomas. Cyfeiria yn y llythyr hwn at y Swediaid oeddynt wedi gwladychu yn y parthau hyny er ys dros ddeugain mlynedd, fel rhai nad oeddynt yn wybodus iawn. Disgynasant hwy yn mysg y Saeson, a bu y Saeson a'r Indiaid yn garedig iawn iddynt. Daeth Thomas Wynne, meddyg o Gaerwys, yn y llong "*Welcome*," gyda William Penn, yn yr un flwyddyn a'r lleill—1682. Yr oedd Daniel Humphreys, mab Samuel Humphreys, y cyfeirwyd ato yn ngharchar y Bala, yn debygol yn y llong "*Welcome*,"

---

* Cofier mai yn 1751 y newidiwyd dechreuad y flwyddyn o Mawrth 25, i Ionawr y 1af.

o'r hyn leiaf daeth drosodd yn yr un flwyddyn. Aeth ef yn ol yn 1683, i ymofyn ei fam Elizabeth Humphreys, a phedwar o'r plant. Cafodd hi lythyr o gymeradwyaeth oddiwrth Gyfarfod Misol y Cyfeillion yn Shamgain (Porthwen ?), ar y 27ain o Gorphenaf 1683. Ac ni a gawn fod Katerin Robert—enw morwynol Katerin Thomas, gweddw John ap Thomas, yn cael llythyr cymeradwyaeth ar y 18fed o'r un mis, yn 1683, oddiwrth gyfarfod o'r Cyfeillion, wedi ei arwyddo gan y dynion a'r merched. Felly ar y seithfed mis (Medi), gyda ei meibion, ei merched, a'i gwasanaethyddion, yn rhifo yn yr oll ugain o bersonau, cychwynasant yn y llong *Morning Star*, o Caerlleon, tua'r "Byd Newydd" fel ei gelwid y pryd hwnw. Claddwyd dwy o'r merched yn y dyfroedd cryfion, un ar y nawfed-dydd-ar-hugain o'r seithfed mis (Medi), a'r llall ar y deunawfed o'r mis canlynol. Wedi mordaith faith, a gwir alarus, cyrhaeddodd y weddw a'r gweddill o'r fintai i ben draw eu taith, Tachwedd, 1683. Prysurasant i'w cartref newydd ar y tir a brynodd y tad, yr hwn a elwid "Gelli y Cochiaid" (*The Grove of the Red Partridges*). Gwnaeth yr hen Gymraes barchus a duwiolfrydig ei goreu i gefnogi ei phlant i godi cartref mewn gwlad newydd, a gwnaeth y plant eu goreu i'w chysuro hithau. Bu fyw am bedair-blynedd-arddeg ar ol ymfudo, a bu farw ar y 18fed o'r unfedmis-ar-ddeg, 1697. Yr oedd hi a'i phriod o achau uchel. Rhedai John ap Thomas ei achau i Marchweithiau, un o bymtheg llwyth Gwynedd, yr hwn a elwid yn Arglwydd Isaled. Yr oedd o'r un teulu a R. J. Lloyd Price, Ysw., Rhiwlas, ger y Bala, yn un o'r tirfeddianwyr mwyaf yn y parthau hyny, ac amryw fon-

eddigion eraill.. Anfonodd Robert Vaughan lythyr ati yn 1687, gan ei chyfarch fel ei "anwyl fodryb," a chafodd un o Eyton Park, Sir Ddinbych, dyddiedig Medi 3, 1692, oddiwrth ei "hanwyl nai," Edward Maurice, yn yr hwn y gwneir cyfeiriadau agos at eu perthynasau hoff, y Wynniaid, David Yale, o Plas yn Yale, ac eraill.

Yn awr dyma rai o'r teuluoedd Cymreig cyntaf yn Pennsylvania. Dechreuodd y plant briodi a chodi teuluoedd. Bu farw Evan, mab Mrs. John ap Thomas, ryw fis ar ol ei fam, ond priododd Katherine, y ferch, â Robert Roberts, mab Hugh Roberts, pregethwr doniol yn mysg y Cyfeillion, yr hwn oedd yn un a brynodd dir gyda John ap Thomas, gan William Penn—yr oedd yn enedigol o blwyf Llanfawr, ger y Bala. Cafodd y pâr a nodwyd blant, ac y mae eu hiliogaeth yn barchus yn Philadelphia a'r cylchoedd hyd heddyw. Aeth Cadwaladr i'r fasnach goed, a bu yn Barbadoes lawer gwaith, a chasglodd gryn gyfoeth. Daeth Robert yn ddyn parchus yn grefyddol a gwladol, gwnaed ef yn ynad heddwch, a bu yn aelod o'r Gynullfa Wladwriaethol. Priododd â merch i David Jones, o Blockley, yr hon a gafodd lythyr cymeradwyaeth oddiwrth gyfarfod o'r Cyfeillion yn Hendre Mawr, ar y 24ain o'r deuddegfed mis, ar eu cychwyniad i America yn 1699. Ac am Thomas ap John (neu fel yr ysgrifenir ef yn awr, Thomas Jones), daeth yn un o ddynion pwysig yr ardal a'r addoldy—efe a benodid i benderfynu yn nghylch tiroedd ac eiddo, ac i'w ofal ef y cyflwyni plant amddifaid. O'r Thomas Jones hwn y disgynodd Mrs Levick, mam Dr. Levick, yr hon oedd yn 92 mlwydd oed pan ei gwelais yn Awst, 1881,

ac yn edrych yn hynod dda o'i hoedran. Priododd Daniel, mab i Samuel Humphrey a erlidiwyd, â merch Dr. Wynne, o Gaerwys, ac yr oedd Dr. Neil (o ochr ei fam), gweinidog enwog gyda y Presbyteriaid yn Philadelphia, yn disgyn o'r teulu yma. Felly hefyd y Major General Humphrey o fyddin yr U. D. Priododd hefyd Edward Jones, y meddyg, cyfaill mynwesol John ap Thomas, â Mary, merch Dr. Wynne, y cyfeiriwyd ato droion o'r blaen. Yr oedd Edward Jones yn ddyn nodedig o garedig ac anwyl gan bawb. Bu fyw dros haner can' mlynedd yn ei gartref newydd, a phan y bu farw yn 1737, yr oedd yn 92 mlwydd oed. Priododd ei ferch Martha â John Cadwaladr, yr hwn a ddaeth yn llanc ieuanc i'r America o Pembroke, sir Benfro. Priododd ei fab Jonathan â Gainor Owen, a bu fyw i fod dros 90 mlwydd oed. Bu James Jones, ei fab yntau, byw i fod yn 92 mlwydd oed, ac yr oedd ei wyr, Samuel W. Jones, yn 92 mlwydd oed pan y bu farw yn 1873.

Y mae yn werth ymdroi gyda yr hen Gymry hyn, gan i mi gael y ffeithiau trwy Dr. Levick, un o hiliogaeth John ap Thomas, Llaithgwm, ger y Bala, a chan Eli K. Price, cyfreithiwr, a'i fab S. Price, yr hwn hefyd sydd gyfreithiwr enwog; a chan yr hen Gymro ymroddedig David Jones, Redwood Street, Philadelphia, sydd yn addurn i'n cenedl yn mhob ystyr, yr hwn a anwyd yn Pontardulais, Llandeilo Fach, Tachwedd 21, 1825, ac a ymfudodd i'r wlad hon yn 1849; a Mr. David T. Davies, o'r U. S. Custom House, Philadelphia, yr hwn sydd yn enedigol o Llandybie, ger Cwmaman, Caerfyrddin, ac a ymfudodd i'r wlad hon yn 1860, ac a fu yn filwr dewr a ffyddlon i'r Undeb,

ac y mae ei gymeriad yn ddilychwin, fel y teimla pob gwir Gymro yn falch o hono. Trwy garedigrwydd y rhai hyny, a Dr. Levick yn benaf, bum am oriau yn edrych dros hen law-ysgrifau, o gant a haner i ddau can' mlynedd yn ol, a chyfarwyddwyd fi at lyfrau a chofnodion yn ninas Philadelphia, a'r siroedd o amgylch, lle y mae cyflawnder o gyfeiriadau at bersonau o'n cenedl ni. Felly goddefer i ni wneyd ychydig nodiadau yn mhellach ar yr hen Gymry hyn. Cyfeiria John ap Thomas yn ei lythyr at ei wraig, o Lundain, ar yr 28ain o Fai, 1681, at un Thomas Ellis, yr hwn a ddaeth yno yr un diwrnod, ac a fwriadai droi adref gydag ef yr un pryd. Cyfeiria Nathan Kite ato yn y *Philadelphia Friend*, fel un a fu yn pregethu gyda Richard Davies mewn cyfarfod yn Aberystwyth, a chymerwyd yr holl gynulleidfa i'r ddalfa. Erfyniai y ddau bregethwr am i'r ynadon eu cadw hwynt, a gollwng y bobl yn rhydd. Gwnaed hyn. Cynygiodd Richard Davies roi ei hun yn lle ei gyfaill ieuangach Thomas Ellis, ac wrth weled y fath deimlad caredig, gollyngwyd y ddau yn rhydd, a bu hyn yn foddion i argyhoeddi yr uwch-gwnstabl a'r is-sirydd, fel yr ymunasant yn fuan a'r Cyfeillion, a darfyddodd yr erledigaeth yn sir Aberteifi. Nyni a gawn y Thomas Ellis hwn yn un o'r sefydlwyr cyntaf yn Pennsylvania. Codwyd ef i swyddi o ymddiriedaeth, ac yr oedd yn Gofnodydd Cyffredinol Pennsylvania y flwyddyn y bu farw, sef 1688. Claddwyd ef yn Haverford, a phriododd ei ferch Robert Wharton, yn 1701. Yn mysg y dau-ar-bymtheg o enwau, y rhai a brynasant y pum' mil erw gan William Penn, nyni a gawn Hugh Robert, neu Roberts, neu Hugh ap Robert. Yn y llythyr

cymeradwyaeth a gafodd oddiwrth y Cyfeillion yn Nghyfarfod Misol Penllyn, yr ail ddydd o Gorphenaf, 1683, dywedir ei fod "o blwyf Llanfawr, sir Feirionydd." Ymunodd a'r Cyfeillion pan yn bur ieuanc. Dyoddefodd lawer o erledigaethau, fel y gwelir yn "Besse's Sufferings of Friends." Yr oedd yn bregethwr cymeradwy a phoblogaidd iawn yn eu mysg, ac yr oedd ei wraig yn enwog am ei duwioldeb. Trodd allan yn un o'r rhai mwyaf defnyddiol ar ei ddyfodiad i'r wlad hon. Yn ei dy ef, a thy Mrs. John ap Thomas, y cynelid y priodasau, cyn defnyddio y Ty Cwrdd yn Meirion at yr amcan hwnw. Pregethai nid yn unig gartref, ond nyni a gawn ei fod yn ymweled â chyfarfodydd y Cyfeillion yn Maryland, Long Island, Rhode Island, a Lloegr Newydd, heblaw myned drosodd ddwywaith i'r Hen Wlad, yn y cymeriad o bregethwr. Yn un o'r ymweliadau hyn dywed iddo gwrdd yn Bristol a'i anwyl gyfaill William Penn, a mawr oedd llawenydd y ddau o gael cyfarfod â'u gilydd. Ymddengys iddo fwynhau yn fawr hefyd ei ymweliad a'i hen ardal enedigol oddeutu y Bala. Pregethai yn ddoniol, tanllyd, a phoblogaidd, a lle bynag y byddai yn pregethu, dylifai y bobl ar ei ol. Yn un o'i lythyrau yn 1697–8, dywed iddo gael "cyfarfod da yn nhy James Lewis, ac oddiyno aethum i Dolobran, lle y cefais fy llwytho â chroesaw gan Charles Lloyd a'i wraig. Aethum yn ol i Penllyn, i gyfarfod yn nhy Robert Vaughan. Yr oedd y ty yn un o'r rhai mwyaf yn y sir, ond ni chynwysai, mi gredaf, haner y bobl. Felly cadwasom ef tu allan, a chyfarfod bendigedig ydoedd." Meddylier am bregethwr bywiog a hyawdl y Crynwyr, yn bloeddio yn awyr ei fro enedigol cyn

dyddiau Ebenezer Richards, John Elias, a John Jones, Talysarn, hen gewri "Sasiwn y Bala." Yr oedd hefyd yn ysgrifenydd medrus a pharod. Bu farw ar y 18fed o Awst, 1702, a chladdwyd ef yn Meirion (Pa.) Rhan o'i dir ef yw y Fairmount Park. Prynwyd rhan o'i ystad wreiddiol ef oddiar ei fab Robert Roberts, gan Edward George, yn 1721. Yr oedd yr hyn a adnabyddir yn awr yn George's Hill, yn y pryniad hwnw. Yr oedd Edward George yn fab i Richard George, brodor o Llangerig, ger Llanidloes, Maldwyn. Y mae yn ffaith gwerth ei chofnodi mai ar ran o hen etifeddiaeth Hugh Roberts, yr hon a werthwyd i Edward George, y cynaliwyd Arddangosfa Gan'-mlwyddol America, lle y bu miloedd ar filoedd yn 1876, yn gweled cynyrchion amaethyddol a chelfyddydol y gwledydd. Ni ddylid anghofio crybwyll am Rowland Ellis, yr hwn a anwyd yn Brithdir, ger Dolgellau, sir Feirionydd, yn 1650. Ymunodd a'r Cyfeillion pan yn 22 oed. Dyoddefodd yntau erledigaeth, a daeth drosodd i'r America yn 1686, a phrynodd dir yn agos i Edward Jones a'i gyfeillion, yr hwn a alwyd yn Brynmawr, ar ol ei hen gartref yn Meirionydd, a cheir yr enw yma eto ar orsaf rheilffordd Pennsylvania, rhwng Philadelphia a Harrisburg, oddeutu wyth milldir o Philadelphia. Aeth ef yn ol i'r Hen Wlad, a dychwelodd gyda ei deulu yn 1697. Cafodd lythyr cymeradwyaeth iddo ei hun a'i wraig, oddiwrth gyfarfod o'r Cyfeillion yn Garthgynfawr, ar y 7fed, o'r 11eg mis, 1696. Bu farw wedi oes ddefnyddiol iawn, yn nhy ei fab-yn-nghyfraith, John Evans, yn 80 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn nghladdfa y Cyfeillion yn Plymouth.

Er mai brodorion o Feirion yn benaf fuont yn brif offerynau i gychwyn y sefydliad Cymreig yn Philadelphia a'r cylchoedd, yr oedd yn eu mysg rai o Faldwyn, a Fflint, a Deheudir Cymru. Y mae yn ffaith ddyddorol i ni fel Cymry gofio fod dinas Philadelphia wedi ei ffurfio, a'i heolydd yn rhedeg yn gyfonglog (*at right angles*), yn union ar gynllun y Bala, yn Meirionydd, a Caerwys, yn Sir Fflint. Nyni a gawn o 1687 ac yn mlaen lu yn dyfod i'r parthau hyn o Haverford-west, yn Sir Benfro, ac o Radnor, (Maesyfed), a lleoedd eraill yn Nghymru, a chedwir yr enwau ar y parthau a berchenogwyd ganddynt, hyd heddyw. Parhâi ymfudiaeth gref o Sir Feirionydd, fel yr aeth y Cyfeillion yn llai, llai yn y Sir hono, ac ymunodd eu hiliogaeth yn benaf â'r Annibynwyr. Daeth Ellis Pugh, o Brithdir, ger Dolgellau, yn 1686, ond i Barbadoes y cyrhaeddodd y flwyddyn hono, o herwydd rhyw anghyfleusdra, ac ni ddaeth at y Cyfeillion yn Pennsylvania hyd 1687. Yr oedd ef yn ddyn nodedig o dda, yn ysgrythyrwr a duwinydd cadarn, ac y mae amryw o'i hiliogaeth mewn swyddi o ymddiriedaeth mawr yn Pennsylvania. Dylem gofio fod ymfudwyr y dyddiau hyny yn agored i lu o beryglon na wyddom ni am danynt y blynyddoedd hyn. Dywed Thomas Jones (mab John ap Thomas), mewn llythyr at ei gefnder, Robert Vaughan, fod Owen Roberts a'i gwmni wedi cael eu dal gan y Ffrancod, o fewn llai nag wythnos i enau y Delaware. Cariwyd hwynt ganddynt, rai i Martinico, a'r gweddill i Guardalupa, ynysoedd perthynol i Ffrainc. Symudwyd hwynt drachefn i ynysoedd perthynol i'r Saeson, a daethant oddi yno i Philadelphia, oll ond naw, y rhai a gawsant

eu gorfodi i fyned i long ryfel yn Monsterat. Yr oedd pump o honynt o ardal y Bala, tri o Leyn, ac un o Ddolgellau.

Ni chaniata y gofod wyf wedi drefnu i draethu ar y mater hwn i mi fanylu llawer eto ar hiliogaeth yr hen sefydlwyr hyn. Dechreuodd y bobl ieuainc a phriodi a'u gilydd. Priodent â hiliogaeth nid yn unig y Cymry, ond y Swediaid, y Cyfeillion Germanaidd, y rhai a ymfudasant o lanau y Rhine yn 1685, a Gwyddelod Ysgotaidd o Ulster. Ymbriododd cyndadau Eli K. Price â rhai o'r gwahanol genedloedd hyn; felly hefyd y gwnaeth amryw o hiliogaeth John ap Thomas, a'r sefydlwyr cyntaf, fel y cawn yr enwau Cymreig yn ymgolli i Embree, Levick, McNeil, Wister, &c. Nis gellwch fyned braidd i'r un teulu o hen frodorion Philadelphia, na chewch beth gwaed Cymreig ynddynt, ac y mae y rhai mwyaf dysgedig a da yn ymffrostio yn fawr yn eu gwaedoliaeth Cymreig. Chwi a gewch hefyd enwau Cymreig ar y masnachdai yn y prif heolydd, ac y mae hiliogaeth yr hen Gymry yn mysg y dynion blaenaf yn Philadelphia, ac yn wir trwy Dalaeth Pennsylvania. Ceisiodd y Cymry gadw eu hiaith, ond colli tir a wnaeth ar ol i'r hen sefydlwyr farw; ac yn mhen haner can' mlynedd ychydig a siaredid o honi, oddieithr gan y dyfodiaid newyddion, y rhai oeddynt yn lluosog iawn o haner cant i gan' mlynedd yn ol, pan yr oedd y Gymraeg yn cael ei siarad yn groch yn marchnad ac ar heolydd Philadelphia. Ymdaenodd y Cymry trwy Dalaeth New York, ac i orllewinbarth Pennsylvania, i Ebensburgh, a Pittsburgh, a Brady's Bend, ac i ranau o Ohio, fel y ceir gweled yn "Hanes Cymry America," gan y

Parch. R. D. Thomas (*Iorthryn Gwynedd*). Yr wyf yn ymgeisio rhag ail gyhoeddi llawer o ffeithiau a gawn yn y llyfr gwerthfawr a nodwyd, ac yn ysgrifau gwir ddyddorol Dewi Emlyn, yn y *Cenhadwr*, ar "Hen Bregethwyr Cymreig yn America." Ond y mae yn deg i mi grybwyll cyn gadael y rhan yma o hanes ein cenedl, fod amryw o Annibynwyr a Bedyddwyr, ac ychydig Eglwyswyr, wedi dyfod o Gymru i gymydogaeth Philadelphia. Daeth rhai Annibynwyr o'r Bala a'r cyffiniau, y rhai oeddynt yn berthynasau naturiol i'r Cyfeillion, er nad yn coleddu eu daliadau crefyddol—aelodau oeddynt o dan ofal Mr. Hugh Owen, Bronyclydwr, yr hwn a fu farw yn 1699. Ond ni chadwyd cofnodion mor fanwl ganddynt hwy a chan y Cyfeillion. Ymddengys iddynt ymffurfio yn eglwys o dan aden y Presbyteriaid, a cheir cyfeiriad atynt yn "Hanes y Presbyteriaid," gan Dr. Patterson. Ond cadwodd y Bedyddwyr at eu neillduolion enwadol. Yr oedd tad Mr. Samuel Jenkin, Philadelphia, yn arfer pregethu Cymraeg yn hen gapel y Bedyddwyr Cymreig yn y Dyffryn Mawr, bymtheng milldir o Philadelphia. Ymfudodd y Parch. Abel Morgan i Pennsylvania yn 1711. Brodor ydoedd o Allt-goch, plwyf Llanwenog, Sir Aberteifi. Symudodd pan yn ieuanc i Lanwenarth, ger Abergavenny, ac yno y dechreuodd bregethu, pan yn bedair-ar-bymtheg oed. Urddwyd ef yn Blaenau Gwent, yn 1700, ac yn mhen un-mlynedd-ar-ddeg daeth i'r wlad hon. Claddodd ei wraig ac un o'i blant ar y môr. Cymerodd ofal eglwys Fedyddiedig y Cymry yn Pennipack (neu Penyparc, neu, efallai, Penybanc), o fewn rhyw ddeng milldir i Philadelphia. Bu farw yn 1722, yn

49 mlwydd oed. Gadawodd "Fynegair Ysgrythyrol" mewn llawysgrif, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1730, a dyna y cyntaf yn yr iaith Gymraeg. Yn hanes disgynyddion Iöran Kyn—Jacob Keen, gwelais gyfeiriad at ei ferch Jane, o'i wraig gyntaf, Priscilla Powell, o Abergavenny, yr hon a briododd John Holmes, o Lower Dublin Township; ac ar Chwefror y pumed, 1760, priododd Hannah, ei merch, â Jacob Keen; ac yr oedd hi, fel ei thadau, yn selog dros y Bedyddwyr, a bu yn un o gychwynwyr eglwys Fedyddiedig Trenton, N. J., i'r hwn le y symudodd hi a'i phriod yn 1770.

Trwy y gwahanol enwadau, yr oedd y Cymry wedi cymeryd meddiant cadarn o Philadelphia a'r cyffiniau. Y mae Mr. Eli K. Price, yr hwn sydd gyfreithiwr profedig, o gyfansoddiad cawraidd, ac ymddangosiad barwnaidd, yn sicrhau fod ganddynt ddeugain mil o erwau, ac y mae pob peth yn profi cywirdeb hyny, os edrychwn i hanes y gwahanol ffermydd a threfgorddau. Ymgodasant i gylchoedd uchel, ac un o honynt hwy, sef Thomas Lloyd—un o Lwydiaid Dolobran, Sir Drefaldwyn, oedd Llywydd cyntaf Pennsylvania.

Gan y ceir yn "Hanes Cymry America" adroddiad lled gyflawn o'n cenedl cyn, ac ar, ac wedi y Chwyldroad yn 1776, ni wnaf fanylu llawer ar y cyfnod yma Dangosodd y Cymry yn y wlad hon eu bod wedi yfed ysbryd dewr a phleidiol eu cyndadau, a daethant yn amlwg yn y Chwyldroad. Y Cymro brwdfrydig, y Parch. David Jones, a wnaeth anerchiad tanllyd a gwladgarol i'r milwyr yn Ticonderoga, pan yr oedd byddin Lloegr yn cael ei dysgwyl i ymosod arnynt bob awr. Honir fod pedwar-ar-ddeg o

Gadfridogion, saith o Filwriaid, a llu o is-swyddogion a milwyr cyffredin, o waedoliaeth Cymreig, yn y fyddin chwyldroadol; a'r Môrlywydd Hopkins, ac eraill, yn y llynges. Hefyd, fe geir enwau dau-ar-bymtheg o waedoliaeth Cymreig o'r rhai a arwyddasant y "Datganiad o Annibyniaeth." Bum yn edrych droion ar ddarlun o lawer o'r rhai hyn yn yr hen Senedd-dy yn Philadelphia, ac y maent yn dwyn delw ein cenedl. Gallwch fod yn sicr mai Cymry oedd Lewis Morris, Robert Morris, Stephen Hopkins, ac eraill o honynt. Bydd enw Thomas Jefferson mewn bri tra y parhao gweriniaethau y byd. Ymffrostiai ef yn ei darddiad Cymreig. Daeth ei hynafiaid oddiwrth droed y Wyddfa, yn Arfon, i'r drefedigaeth oedd yn Virginia. Ganwyd Francis Lewis yn Neheudir Cymru, yn 1713; a ganwyd Button Gwinnett (Gwynedd?) yn Nghymru yn 1732. Ac yr oedd John Penn, Arthur Middleton, Benjamin Harris, Francis Hopkins, William Williams, William Floyd, ac eraill, o darddiad Cymreig.

Ar ol y Chwyldroad, cynyddodd ymfudiaeth Gymreig yn ddirfawr. Rhydd y diweddar Barch. Llewelyn D. Howell (ewythr fy ngwraig, ac ar ol yr hwn yr enwasom ein mab ieuengaf yn Llewelyn), yn ei draethawd dyddorol ar "Ddechreuad a Chynydd y Cymry yn Utica a'i Hamgylchoedd," olwg gyfan a chryno iawn i ni ar ymsefydliad y Cymry yn y parthau hyny o 1795 hyd 1860. Nyni a gawn hanes yr hen sefydliadau Cymreig, megys Ebensburgh, yn 1796; a Paddy's Run, yn 1796–8; ac amryw eraill yn llyfr Iorthryn Gwynedd, a gadawaf hanes ein cenedl ni iddo ef hyd 1872, ac i'r Parch. William D.

Evans yn mlaen o hyny, yn y llyfr a fwriada gyhoeddi yn fuan. Ni chaf ond cymeryd trem frysiog ar sefyllfa bresenol ein cenedl yn y wlad hon.

Y mae ymfudiaeth gref o Gymry wedi dyfod yma y ddwy flynedd ddiweddaf—1880–1—ac y maent yn dechreu dod eleni. Bernir fod o leiaf ddeng mil wedi dyfod y ddwy flynedd ddiweddaf. Chwi a gewch Gymry yn holl felinau haiarn, a mwnfeydd glo, haiarn, plwm, ac aur, o'r Werydd i'r Tawelfor. Nid llawer iawn llai na haner poblogaeth Cymry sydd yma o'n cenedl, ac y mae mwy na hyny os cymerwn i mewn y rhai sydd o achau Cymreig agos a diamheuol. Y mae genym ganoedd lawer o Gymry cyfoethog, a'r mwyafrif o lawer mewn bywoliaeth gysurus. Os eir trwy Pennsylvania, New York, Ohio, Wisconsin, Iowa, Minnesota, Missouri, Kansas, Nebraska, &c., nyni a gawn amaethwyr trwy ddyfal-barhad wedi dyfod yn berchenogion cartrefi da, a ffermydd mawrion. Yr wyf wedi gweled gweithwyr haiarn a glo wrth y degau, wedi dyfod yr hyn a fuasem yn ystyried yn Nghymru yn gyfoethog. Gwelais yn Awst diweddaf, yn Catasauqua, Pa., filiwnerydd Cymreig, sef David Thomas, Ysw., un genedigol o gymydogaeth Castellnedd. Gwahoddwyd fi i'w dy, a chefais ymddyddan maith ag ef a'i briod. Yr hyn oedd yn brif ragoriaeth ynddynt yn fy ngolwg i, er eu holl gyfoeth a'u hoedran mawr—dros bedwar ugain oed—fod y ddau yn myned bob Sabboth i'r Ysgol Sul, i ddarllen Gair Duw. Nid awn i'r un Dalaeth lle y mae y Cymry wedi ymsefydlu yn weddol helaeth, na chawn rai o'n cydgenedl mewn swyddi o ymddiriedaeth ynddynt. Y mae Mr. Richards wedi dyfod yn Is-lyw-

ydd Ohio, ac y mae Mr. Edwards, (mab y Parch. J. Edwards, Crab Creek), yn Ysgrifenydd Ty y Cynrychiolwyr yn Columbus, O. Adwaenir Mr. Samuel S. Davies, fel un sydd wedi cadw ei gymeriad yn ddifwlch er ys blynyddoedd yn Washington; ac y mae Mr. Arthur L. Thomas, (mab i'r Squire Thomas, o Pittsburgh), ar ol bod am flynyddoedd yn Washington, mewn parch gan aelodau y Ty a'r Senedd, er ys cryn amser bellach, yn Ysgrifenydd Tiriogaeth Utah, a bu yn gweithredu am dymor fel Llywydd, er boddlonrwydd cyffredinol. Adwaen ddau eraill yn y Dalaeth hon, un wedi bod am oddeutu deuddeg mlynedd, a'r llall eto yn ngwasanaeth yr Unol Dalaethau, sef T. W. Davies, Ysw., Casglydd y Cyllid yn Pittsburgh, a'r rhanbarth; a David T. Davies, Ysw., y cyfeiriwyd ato o'r blaen yn yr U. S. Custom House, Philadelphia. Fel hyn y mae ein cenedl yn ymgodi i swyddi o fri ac elw trwy y wlad hon. Ymegyr America fawr, gyda ei 38 o Dalaethau, 10 o Diriogaethau, ac un Rhanbarth, o flaen y Cymry, a chânt y croesaw blaenaf i ymgartrefu ynddi. Er yr oerni a'r gwres eithafol mewn manau ac ar adegau, nid wyf yn gwybod am well gwlad o dan haul Duw i'm cenedl ymsefydlu ynddi nag America, ar gyfrif cadernid y llywodraeth, godidawgrwydd ei chyfansoddiad, ei rhyddid gwladol, ei sefydliadau addysg, ei hadnoddau cynyrchiol, a'i manteision crefyddol. Ond i'r Cymry ymfudo yn ystyriol o ddiffygion pob gwlad yn myd y pechu, y cystuddiau, a'r marw, ac ymsefydlu yn agos i fan y cânt addoliad crefyddol yn yr iaith a ddeallant oreu, bydd yn fendith i filoedd eto ddod yma i fyw. Ni ddylai neb sydd yn hoffi yr efengyl yn yr iaith Gym-

raeg alltudio eu hunain o'i swn. Y mae gan yr Annibynwyr Cymreig oddeutu 170 o eglwysi, a chyfrifir fod gan y Trefnyddion Calfinaidd, a'r Bedyddwyr, ac ychydig o Wesleyaid, rhyw 250 o eglwysi, yn gwneyd yn yr oll dros bedwar cant. Mynegai y Parch. David Harries, Chicago, yn ei anerchiad ger bron y Gymanfa Bresbyteraidd ychydig amser yn ol, fod y Trefnyddion Calfinaidd yn America yn rhifo deng mil o aelodau. Wedi chwilio yn lled fanwl i ystadegaeth yr Annibynwyr, neu y Cynulleidfaolwyr Cymreig, yr wyf yn eu cael yn oddeutu deng mil a haner o aelodau. A chymeryd aelodau y Bedyddwyr a'r Wesleyaid at y ddau enwad a nodwyd, gellir cyfrif holl aelodau yr eglwysi Cymreig yn y wlad hon yn agos i bum'-mil-ar-hugain. Fel hyn y mae yma fanteisiou crefyddol nodedig o dda i'n cenedl. Wrth y Cymry yn yr Hen Wlad sydd ganddynt ddigon o gysuron tymorol, yn arian, dysg, iechyd, a bywoliaeth dda, a manteision yr efengyl mewn helaethrwydd, dywedaf yn ddibetrus—*aroswch yn Nghymru.* Ond wrth y rhai sydd a theulu mawr, a rhagolygon tywyll am fywoliaeth iddynt, ac a fyddant yn foddlawn i wneyd aberth er mwyn eu plant am y blynyddoedd cyntaf, dywedaf yr un mor ddibetrus, *Dowch i'r America.* A dybenaf yn iaith hwyliog fy hen ddiacon da, Mr. Edward Owen, gynt o Aberhosan, "Diolch am America i'r Cymry anwyl."

---

## DYLANWAD MERCHED AR GYMDEITHAS.

"Os cefais ras, os cefais ddysg,
Trwy ofal merch eu cefais."

Wrth adolygu gwahanol adraniadau cymdeithas, ac olrhain y gwahanol ddylanwadau sydd yn effeithio ar

ffurfiad ei nodwedd, yr ydym yn gweled fod gan ferched eu rhan bwysig. Fod nodweddiad gwahanol ddosbarthiadau cymdeithas yn warthus sydd sicr, fod modd eu gwellhau sydd yr un mor sicr; ond y mae y dull a ddefnyddia lluaws er cyrhaedd hyny yn dra amheus. Dysgwylir llawer oddiwrth ddiwygiadau gwladyddol, rhoddir hyder cryf am wellhad trwy helaethiad ysgolion, a lledaeniad cyfryngau gwybodaeth; ond er mor nerthol yw y rhai hyny yn eu lle, ni cheir iachawdwriaeth gyflawn, heb burodylanwadau gorlifol y merched. Gan nad beth fydd deddfau, sefydliadau addysgiadol, ac arferiadau gwlad, merched ddylanwadant gryfaf ar ei moesau. Teyrnasant mewn awdurdod, er yn ddirgelaidd, ar serchiadau, uchelgais, a dymuniadau yr enaid. Y mae gweithrediad rhinweddol galluoedd cryfaf meddwl, a theimladau bywiocaf calon dyn, yn ymddibynu ar burdeb eu dylanwad hwy.

Dichon y bydd rhai wrth ddarllen y llinellau hyn, o ysbryd teimlad y dysgyblion gynt, pan welsant yr Iesu yn ymddyddan â gwraig o Samaria: "A bu ryfedd ganddynt ei fod ef yn ymddyddan â gwraig." Ond pe buasent yn aros i weled beth allodd y wraig hon ei wneyd, dichon y buasai eu rhagfarn yn llai yn ei herbyn; a doeth ydyw i rai o'r un nodweddiad ymbwyllo eto, i ystyried beth y *mae*, a pheth a *all* y merched wneuthur. Edrychwn ar ddylanwad hon. Trwy ddylanwad y gwirionedd a ymaflodd yn ei chalon, gadawodd ei dwfr-lestr, a phrysurodd i hysbysu ei chyd-ddinasyddion am y Messiah:

"Crist Messiah mi a'i cefais,"
Seinia drwy y ddinas hen.

Beth fu'r canlyniad? "A llawer o'r Samariaid o'r ddinas hono a gredasant ynddo, o herwydd gair y wraig, yr hon oedd yn tystiolaethu, Efe a ddywedodd i mi yr hyn oll a wnaethum." Ie, un ferch yn ysgwyd calonau, ac yn arwain degau o ddynion at Fab Duw. Prawf-hyn beth ydyw nerth dylanwad merch mewn arferiad. Os edrychwn o'n deutu yn y dyddiau hyn ni a gawn y naill yn dylanwadu yn dawel a dystaw, eto yn dreiddiol fel y gwlith, er gwneyd pawb o'i deutu yn ddoethach, yn goethach, a duwiolach, a'r llall fel pren Upas, yn gwenwyno yr awyr o'i hamgylch, fel nas gall dim rhinwedd dyfu o dan ei changenau. Nis gallwn lai na thosturio dros y diwygiwr sydd wrthi yn ddiwyd yn hwyr ac yn foreu, yn trefnu ei gynlluniau heb ragdrefnu dim ar gyfer dylanwad y merched—mor ofer fydd ei holl gynlluniau heb hyn! Mae pawb yn myned dan ddylanwad merch, ac o dan ei dylanwad yn flaenaf oll. Nid yw yn un anfri i ddweyd fod pob athraw dysgedig, pob milwr dewr, pob celfyddydwr medrus, pob gwladyddwr craff a phob pregethwr hyawdl, wedi bod wrth fron, ar lin, ac o dan addysg merch. Dangoswch i mi ddyn heb deimlo dylanwad merch, minau a ddangosaf i chwi un sydd wedi tori y gadwen ddirgelaidd sydd yn ei gysylltu â chymdeithas.

Y fath lu y gellir cyfeirio atynt a ddangosasant yn mlynyddoedd dilynol eu bywyd, yr addysg a gawsant gan ferched. Edrycher ar Moses fel arweinydd Israel, ac ar Samuel fel prophwyd Duw, a cheir prawf effeithiol o hyn. Adgofiai Paul gyda dwysder i Timotheus, yr addysg a gafodd gan ferched yn moreu ei fywyd, "*Ac i ti* er yn fachgen wybod yr ysgrythyr lan."

Llawer gwaith yr ydoedd wedi bod pan yn blentyn bach ar lin ei nain Lois, yn y gongl, yn adrodd ei weddiau symlion, a'i adnodau tlysion ; ac yn llaw ei fam Eunice ar hyd yr ardd a'r maesydd, yn adrodd hanesion difyrus o'r ysgrythyr—hanes Moses bach, y llanc gwridgoch Dafydd, a'r bachgen Samuel, ac eraill, ac yr oedd yr addysg hwn yn fanteisiol iddo pan yn wynebu ar brofedigaethau y bywyd dynol, ac yn neillduol ar erledigaethau y bywyd crefyddol. "Yr hon sydd yn abl i'th wneuthur yn ddoeth i iachawdwriaeth."

Dywedai yr hen Napoleon wrth Madame Campan, "Nid yw yr hen gyfundrefnau addysg yn werth dim. Beth sydd ofynol mewn trefn i ieuenctyd Ffrainc gael eu dysgu yn dda?" "Mamau," atebai Madame Campan. Tarawodd yr atebiad yr Ymerawdwr. "Dyna," meddai, "gyfundrefn addysg mewn un gair. Bydded eich gofal i ddwyn mamau i fyny a wyddant pa fodd i ddysgu eu plant." Saif y sylw hwn yn ei gywirdeb hyd y dyddiau hyn. O, na allem ddwyn ein cenedl yn gyffredinol i deimlo pwysigrwydd addysg merched.

Sylwai Aimé Martin, "fod addysg merched yn fwy pwysig nag addysg dynion, gan mai eu gwaith hwy bob amser ydyw addysgu dynion." Yr ydym yn bur barod i ymffrostio yn sefyllfa uchel a phur ein haddysg, ond gellir gofyn, "A ydyw merched wedi eu cyfaddasu i ddysgu dynion?" Os nad ydynt, nid yw calon ein gwlad yn ei lle eto. Y mae y rhan bwysicaf a mwyaf parhaus yn ein haddysg heb ei chyrhaedd. Ni raid i ni ond cyfeirio at yr hunanoldeb gwrthun, yr haerllugrwydd hyllig, a'r diffyg moesau da yn gyffredinol, na chawn ni brawf amlwg iawn o'r diffyg yn addysg merched. Wrth wrando ar ambell i ddyn yn

siarad mor ddireol ac anghoeth, byddwn yn myned yn mhellach nag ef er cael gwraidd y drwg—at y merched sydd wedi bod yn dylanwadu arno yn ngwahanol gyfnodau ei fywyd.

Er codi cenedl ieuanc enwog mewn dysgeidiaeth, a gloew mewn rhinwedd, ymrodder mwy gydag addysg y merched yn y dyddiau hyn. Nid gwiw gwadu dylanwad merched ar genedl, y mae yn ffaith anwadadwy: "Wele, pob diarhebydd a ddiarheba am danat, gan ddywedyd, Fel y mae y fam y mae y ferch." Er ad-ddeffroi y rhai a gychwynasant mor aiddgar yn y gwaith clodfawr hwn, yr ydwyf wedi ysgrifenu y llinellau uchod, a hyderaf y gafaela yn ddwfn yn meddyliau y merched eu hunain. Bydded iddynt gofio nad oes dim a ddygir oddi allan a all effeithio, os na bydd ymroad mewnol. Arswyder rhag llygru yr oes, a chamarwain cenedl. Bydded i awelon balmaidd eu dylanwad da berarogli ein hawyrgylch foesol.

Y mae cryn ymdrech yn yr oes hon, ac yn enwedig yn yr America, i godi rhyw ffug ddiwygiad er dwyn merched i'r un safle a dynion, yr hyn a alwai y diweddar Dr. Bushnell, yn briodol iawn, yn "*Reform against nature*"—diwygiad yn erbyn natur. Ceisir bychanu Paul, a chwerthin am ei gyfeiriadau synwyrlawn at y merched. Y mae llawer nad ydynt wedi myned i'r un eithafion a'r rhai a ddadleuant dros "Hawliau merched" i'r graddau pellaf, wedi sugno peth o'r gwenwyn; fel y sylwa Dr. Austin Phelps, "Y maent yn anadlu mall-awyr yn yr awyrgylch gymdeithasol, ac nis gallant lai nag ymglafychu trwyddo." Nid diwygiad yw unrhyw fudiad a ddinystria ragoriaethau menyw, merch, mam, a chwaer. Cadwer y

wraig yn frenines cartref, i deyrnasu trwy fwynder, doethineb, glanweithdra, a threfnusrwydd. Dyma a'i gwna yn goron i'w gwr, ac yn em i Dduw, yn nefoedd iddi ei hun, ac yn berarogl i'w phlant.

Y mae yr anfoddogrwydd sydd wedi dyfod i mewn trwy y mesurau a gynygir i yru merch dros derfynau cysegredig ei rhywogaeth, wedi gwneyd ysgariaeth yn bla cymdeithasol, ac yn destyn gwawd gan Formoniaid amlwreigyddol. Hyfryd iawn yw canfod fod y giwaid ddrygionus o dan faner "*Free Love,*" yn gwanychu bob blwyddyn o'r rhai diweddaf. Gadewch i ni ddal at yr hen rwymyn priodasol, y mae tywysogesau a breninesau, a mamau goreu y byd, "wedi byw, caru, a marw" ynddo er's oesau. Y mae pawb da a goleuedig yn barod i gefnogi pob mudiad a fydd yn wir ddiwygiad er codi merched i'w gwir safle anrhydeddus, yn ol bwriad daionus a threfn ddoeth yr Arglwydd; ond am bob peth tu allan i hyn, o'r drwg y mae, ac na rodder achles iddo, er mwyn anrhydedd merch, a lles ein gwlad.

Y mae y Beibl wedi gosod rhyw anrhydedd annileadwy ar ferched rhagorol. Meddylier am Miriam, chwaer Moses, a cheir engraifft o ferch ufudd, a chwaer ffyddlon; ac yn mam Samson ceir gwraig ffyddiog a hyderus; yn Hannah, mam Samuel, nyni a gawn fam enwog mewn gweddi, a gofalus am enaid ei phlentyn; yn merch Jephtha, nyni a welwn ferch lwyr foddlawn i ewyllys ei thad; ac ymddengys Ruth i ni yn weddw ieuanc dduwiolfrydig, a merch-yn-nghyfraith ffyddlon ac ymlyngar; a bydd y gaethes fach o Israel yn nhy Naaman, am oesau yn wir gynllun o forwyn dda. Gallaswn ychwanegu enwau llawer trwy yr Hen

Destament, a dyfod a rhes drachefn yn y Testament Newydd, ond ni wnaf gyfeirio ond at ychydig o'r olaf. Dyna "Mair rasol, mam yr Iesu," a Mair yr hon a "eisteddodd wrth draed yr Iesu," a Martha ei chwaer, yr hon hefyd oedd yn "hoff" gan yr Iesu; a'r gwragedd ffyddlon a ganlynasant y Ceidwad trwy ei fywyd cyhoeddus, y rhai "oeddynt yn olaf wrth y groes, a'r cyntaf wrth y bedd;" a Lydia a Dorcas y sonir am danynt yn yr Actau; a "Phœbe ein chwaer, yr hon sydd weinidoges (diacones) i eglwys Cenchrea;" a "Mair, yr hon a gymerodd lawer o boen erom ni;" a "Tryphena a Thryphosa;" a'r "anwyl Persis, yr hon a gymerodd lawer o boen yn yr Arglwydd," y sonia Paul am danynt yn yr Epistol at y Rhufeiniaid. Y mae genym engreifftiau godidog o ddylanwad merched ar gymdeithas yn yr oesau diweddaf. Pwy a all fesur dylanwad Charlotte Elliott, trwy yr emyn eneiniedig hwnw o'i gwaith?

"Just as I am, without one plea;"

a Mrs. Adams, trwy ei hemyn anfarwol,

"Nearer my God to Thee;'

a Mrs. Hawks trwy ei hemyn duwiolfrydig,

"I need thee every hour."

Ac nis gallwn ni anghofio ein Ann Griffiths, o sir Drefaldwyn, awdures yr emyn adnabyddus hwnw,

" O Arglwydd Dduw rhagluniaeth,
Ac iachawdwriaeth dyn;"

a'r un treiddgar hwnw,

"O am gael ffydd i edrych,
Gyda'r angylion fry;"

a'r un cysurol hwnw,

"Lesg bererin gan ystormydd,
Cyfod d'olwg, gwel y wawr;"

a'r un tra phoblogaidd hwnw,

"Dyma babell y cyfarfod,
Dyma gymod yn y gwaed;"

a'r un nefolaidd hwnw,

"Dedwydd fydd tragwyddol orphwys,
O bob llafur yn y man;"

a'r un gwir doddedig hwnw, a genir tra y byddo canu Cymraeg,

"Melus gofir y cyfamod,
Draw a wnaed gan Dri yn Un."

Y mae y Beibl a chrefydd Crist yn mhob oes yn gosod rhyw fri mawr ar ferched da. Ni chawn yr un fel Judas â chusan gwenwynllyd yn bradychu y Ceidwad, yn eu mysg; na'r un fel Pedr, yn ei wadu â thafod anffyddlon; na'r un fel yr apostolion, yn cilio ymaith yn yr oriau cyfyngaf; ond ceir hwynt yn olaf wrth y groes, a chyntaf wrth y bedd. Ac y maent yn fwy lluosog na dynion yn yr eglwysi Cristionogol trwy y byd heddyw, ac yn sefyll yn ffyddlon gyda'r Ysgol Sabbothol, a'r Cenadaethau amrywiol, ac y mae eu dylanwad, er yn ddystaw fel y disgyna y plu eira, a'r gwlith, eto yn ymdreiddio yn ddwfn at wreiddiau holl sefydliadau da y gymdeithas ddynol. Meddylier am eu llafur yn y maesydd cenadol, yn Twrci, yn China, yn Japan, yn ynysoedd Mor y De, yn Mexico, ac ysgolion y De a'r Gorllewin yn y wlad hon—dyma lle y mae rhai o'r merched goreu a fedd y byd heddyw. Beth a ddaw o'r gwledydd, ac yn enwedig o'r wlad hon lle

y mae y cymysgedd mwyaf trwy y gorlifiad ymfudol? Y mae gobaith y mwyaf dysgedig, duwiolfrydig, a dwfndreiddiol, wrth ferched rhinweddol, coeth, ffyddlon, pur, mwyn, diwyd, syber, a gwir dduwiol. Cyfoder miloedd o ferched eto a fyddant "fel conglfaen nâdd wrth gyffelybrwydd palas."

---

## GWERSI O'R DIARHEBION CYMREIG.

Darnodiad rhyfeddol o dda o ddiareb a roddodd y diweddar Arglwydd John Russell mewn ymddyddan â Syr James Macintosh. "*One man's wit, and all men's wisdom*"—arabedd un, a doethineb pawb. Ond yr un mwyaf dewisol genyf fi yw yr eiddo Cervantes, sef, "brawddeg fer, wedi ei seilio ar brofiad maith." Dichon y dadleua rhai na fydd pob diareb a ddyfynaf yn hollol Gymreig, ond gellir ateb eu bod yn y Gymraeg er ys ugeiniau o flynyddoedd, ac y maent wedi bod yn llusernau goleu i'r hen Gymry pan nad oedd y Beibl yn eu meddiant. Y maent hyd heddyw yn cynwys gwersi pwysig i'r byd.

GWERSI ATHRONYDDOL.—Y mae y sylwadau craff a chywir a gawn ar wahanol greaduriaid yn athronyddol iawn:

"Nerth eryr yn ei ylfin—pig, *bill.*
Nerth unicorn yn ei gorn.
Nerth sarph yn ei chloren—gwar y gynffon (*rump*).
Nerth hwrdd yn ei ben.
Nerth arth yn ei breichiau.
Nerth tarw yn ei ddwyfron.
Nerth ci yn ei ddant.
Nerth ysguthan yn ei hadenydd.

Ac yn ddiweddaf oll,

Nerth gwraig yn ei thafod."

Ac y mae y sylw yna yn llawn mor athronyddol a'r un o honynt.

Y mae yn amlwg fod yr hen Gymry yn sylwedyddion craff ar natur. Gwyddent yn fanwl neillduolion pob creadur. Boddloner ar yr ychydig engreifftiau canlynol:

"Cerid yr afr ei mỳn, bid o ddu, bid o wyn." Bydd yn dda gan yr afr ei mýn (*kid*), beth bynag fyddo ei liw. Felly y mae y fam yn caru ei phlentyn, sut bynag y bydd yn edrych i bobl eraill.

"Po dicaf y ceiliog, cyntaf y cân." Chwi fuoch yn ymlid ceiliog dyeithr o'ch gardd, ond mor gynted yr äi allan, chwi a'i clywech yn canu yn braf yn yr ardd nesaf, cystal a dyweyd, "Gwnewch eich gwaethaf, mi ganaf eto." Felly y mae ambell i fath o ddyn, fe gân yn uwch o *brofoc* i ereill wedi digio wrthynt.

"Rhaid i'r fuwch wrth ei llosgwrn"—cynffon. Rhaid iddi er mwyn harddwch a chysur, er mwyn ymlid y gwybed a'r pryfaid ymaith. Y mae ambell i ddyn hynod o ddigynffon; gwna hyny iddo ymddangos yn wledig, sarug, difoes, a thrwsgl iawn. Ond y mae un arall yn gynffon i gyd, fel na fedrwch chwi ddim ymddiried ynddo. Eto rhaid cael tipyn o gynffon i fyned yn weddol gysurus trwy y byd yma.

Y mae y cydmariaethau canlynol yn hynod briodol, a llawn o athroniaeth:

"Can boethed a'r tân.
Can felused a'r mel.
Can gynted a'r gwynt.
Can iached a'r brithyll.
Can loywed a'r dwfr.
Can oered a'r ia.
Can wyned a'r càn—peillied,

Can ddued a'r fran.
Can goched a'r gwaed.
Can gryned a'r bel.
Can wirioned a diawl dwyflwydd.

(Ni waeth genyf fi pe byddent yn ddwyflwydd i gyd os ydynt yn wirionach yn yr oed hwnw.)

Can wired a'r efengyl."

Y mae rhywbeth yn gynwysfawr iawn yn y dywediadau canlynol:

"Goreu canwyll pwyll i ddyn." Y mae pwyll a gwastadrwydd teimlad yn gynorthwy mawr iddo i ganfod a deall pethau, tra y mae byrbwylldra yn ei adael yn y tywyllwch.

"Uwch pen na dwy ysgwydd." Y mae eisteddle gallu meddyliol, yn uwch na gallu corphorol—y meddyliol yn rhagori ar y naturiol.

"Po mwyaf fo'r brys, mwyaf fydd y rhwystr." Pan y byddwch mewn brys i fyned i daith neu neges, fe ymgasgla rhwystrau fwy na mwy. Y mae bod mewn gormod brys yn peri i bawb fod yn fwy trwsgl ac annyben, heblaw eu bod yn sylwi mwy ar rwystrau cyffredin.

Ceir llon'd y dywediadau canlynol o synwyr:

"Ni cheir geirda heb brid"—*Good word will not be acquired without desert.*

"Goreu bo'r chwareu, tecaf fydd peidio." Gwell rhoi i fyny yn nghanol blas y chwareu, cyn dechreu ffraeo.

"Goreu drwg y drwg lleiaf." Os rhaid dewis, dewiser y lleiaf o ran ei natur a'i effeithiau.

"Goreu barn cyfiawnder." Cyfiawnder sydd yn rhoi gwerth ar farn.

"Goreu cydymaith, ceiniog." Chwi wnewch yn weddol mewn lle dyeithr os bydd genych geiniog i dalu am bob peth. Y mae hon o'r un ystyr a hono, "*Let us have florins, and we shall find cousins.*"

"Goreu i bawb mi biau." Gwell i bawb ei bethau ei hun na phethau pobl ereill. Gwell dolar y gellwch ddyweyd "mi biau," na chan' dolar o arian pobl eraill.

"Goreu un bwyd bara." Bara ydyw ffon cynaliaeth dyn. Am fara y byddai y golled fwyaf, er cynifer o fathau o fwydydd y sydd.

"Goreu cam, cam cyntaf." Cymeryd y cyfle cyntaf i ochel drwg, a gwneyd daioni, ydyw y goreu. Peidio oedi dim.

"Goreu cyfrwystra gonestrwydd." Bod yn onest sydd yn llwyddo yn y pen draw; y mae cyfrwystra yn dwyn siom. Enilla y gonest barch, ond syrthia y cyfrwys i ddirmyg. Yr un yw ystyr hon a'r un Seisonig, "*Honesty is the best policy.*"

"Gwell crefft na golud." Y mae rhoi crefft i blentyn yn well na rhoi arian iddo. Ond eto, "Gweddw crefft heb ei dawn." Amddifad iawn yw crefft heb gymwysder a thalent naturiol ati. Dylai rhieni edrych ar dueddiad naturiol y plentyn.

*Gwersi Amaethyddol.*

Ceir yn y diarhebion amryw nodiadau addysgiadol iawn i amaethwyr, yn enwedig rhai Cymru, ac yn wir y mae llawer o briodoldeb ynddynt i'r wlad hon, mewn perthynas i dywydd, creaduriaid, a threfn amaethu.

"Ionawr a dery i lawr.
Chwefror chwyth ni chwyd neidr oddiar ei nyth.

Mawrth cadarn a'i tyn hi allan.
Mawrth a ladd, Ebrill a fling.
Ebrill garw, parchell marw.
Os yn mis Chwefror, y tyf y pawr, (porfa)
Trwy'r flwyddyn wedyn ni thyf e fawr.
Os yn Mawrth y tyf y ddol,
Gwelir llawnder ar ei ol.
Mai gwlybyrog ganddo cair,
Llwythi llawn o yd a gwair.
Mis Mai oer a wna'n ddinag,
'Sgubor lawn, a mynwent wag.
Haid o wenyn os yn Mai eu ceir,
A dalant lwyth wyth ych o wair.
Da haid Mehefin, os da ei hoen,
Am haid Gorphenaf ni ro'wn ffloen.
Haid o wenyn yn Gorphenaf,
Had rhedynen ei phris penaf.
Hydref teg wna auaf gwyntog.
Gwanwyn a gawn, llogell yn llawn.
Nid ar redeg mae aredig.
Goreu llaeth llefrith.
Goreu llwyddiant gwenyn.
Goreu o'r ceirch y breisgaf.
Goreu o'r cwn y cyntaf.
Goreu o'r gwenith y moelaf.
Goreu o'r meirch y mwyaf.
Goreu o'r moch y tewaf.
Goreu un anifail, buwch.
Goreu un mil, march.
Goreu ysgrubl, defaid.
Gormod caws mewn maidd.
Gwr ar fwrdd, llanc ar faes.
Hy pob ceiliog ar ei domen.
Lle crafa'r iar, e biga'r cyw.
O'r aeron goreu yw yr eirin.
Sal y ci ni thal chwibanu arno.
Tra fo'r borfa yn tyfu, y bydd marw y march.
Tw! farch benthyg.
Unpryd yr iâr yn yr ysgubor.
Y cyntaf ei ôg, cyntaf ei gryman,
Felly finau, chwedl y mochyn.
Rhaid enllyn da gyda bara llwyd."

GWERSI PERSONOL.—Y mae y cyfeiriadau a wneir at wahanol dymherau a nodweddiadau yn rhagorol o briodol.

*Y Dyn Anesmwyth.*

" A fo a'i fryd ar ddebed (gerdded), ni wna dda cyn ei fyned." Ni wna amaethwr a fydd wedi penderfynu ymadael a'i ffarm fawr o drefn ar ei thrin. Ni ofala gwas na morwyn a fyddant wedi rhoi eu bryd ar ymadael a'u lle, fawr am eu gwaith ar derfyn eu hamod. Ond y mae llawer wrth symud yn myned o'r " badell ffrio i'r tan," pysgodyn ffres yn neidio o'r badell, ond i'r tan yr ä, ac y mae hi yn boethach yno nag yn y badell. Newidia llawer yn aml o ddrwg i waeth. Dyna brofiad llawer yn yr America. Collwyd miloedd o ddoleri fel hyn. " Y maen a dreigla ni fwsogla"—*A rolling stone gathers no moss.* Cerdda rhai o fan i fan o hyd. Hwi acw. Hwi yna. Draw yn rhywle y mae elw, cyfoeth, a dedwyddwch o hyd, ond druain o honynt, er cerdded llawer, y maent yn methu dod o hyd iddynt.

*Yr Achwyngar.*

" A achwyno heb achos, gwneler achos iddo." Y mae achwyn fel ail natur i ambell i un. Tuchana ambell i blentyn wrth gysgod y wialen, ac ni fydd yn rhyfedd os ca deimlo ei phwysau cyn y diwedd. Felly y ca ambell i un hi gan Ragluniaeth. Cofier ystori " Y fen wichlyd," lle y dysgir mai

"Nid y rhai sy'n achwyn fwyaf,
Sydd bob amser druenusaf."

Ond y mae ambell i un yn "achwyn rhag achwyn rhagddo." Achwyna un ar y llall, rhag i'r llall achwyn arno ef.

*Y Llipa ei Dafod.*

"Annoeth llithrig ei dafod." Peiriant bach gwerthfawr yw y tafod, lledaenydd teimlad, meddwl, a newydd. Ond y mae yn rhaid ei reoli. Cyffelybir ef i gleddyf, ffrwyn y march, llyw y llong, tân, saeth lem, ellyn miniog, a ffrewyll. Mor daer y gweddiai Dafydd am gael ei waredu rhag Saul a Doeg! "Golymmasant eu tafod fel sarph, gwenwyn asp sydd tan eu gwefusau." "A'r tafod tân ydyw," meddai Iago, "byd o anghyfiawnder." Mawr y drygau y mae rhai "llipa eu tafod" wedi wneyd yn y byd. Ofer dyweyd eu bod yn "onest" yn dyweyd eu meddyliau; na "annoeth," ac ynfyd i'r eithaf ydynt, a dylid eu dysgu i "atal eu tafod." Yn sicr, "da daint rhag tafawd," ond gallech feddwl ar ambell i un nad oes ganddo na dant natur, na chelfyddyd, gan mor lipa yw ei dafod i gario chwedlau am bawb. Ond odid na ddaw ad-daliad chwerw i'r dosbarth yma. "A ddywed y peth a fyno, a glyw y peth nis myno." Clyw am dano ei hun beth na fynai, wedi bod yn ymollwng i ddyweyd y pethau a fynai am eraill. Er nad oes gan yr oes hon ei "*cucking* neu *ducking stool*, trochgadair, i gospi merched anystywallt, a dynion cyffelyb, eto y mae gan yr oes hon ei chosbau ei hun ar "y llipa ei dafod."

*Yr Anwadal a'r Diddal.*

"Addaw mawr, a rhodd fechan." Un peth ydyw addaw, peth arall ydyw rhoi. Medda rhai ddawn neillduol i addaw, ond rhyfedd mor ddiffygiol ydynt mewn rhoi. Y mae ambell i un yn "addaw y môr a'r mynydd." Nid yw addaw "y môr" yn ddigon, heb addaw "y mynydd" hefyd. Neu fel y mae ffurf

arall ar yr hen ymadrodd, "addaw y môr ar y mynydd," addaw peth mawr pell, addaw y môr pan ar ben y mynydd. Ond "gwell un hwde, na dau addaw." Y mae yr "hwde" bach yn sicr i ni, tra y mae "dau addaw" yn ansicr iawn yn aml. Ie "gwell nâg, na dau addewid," gwell i chwi gael eich gwrthod yn deg ar unwaith, na chael addewid ddwywaith, a chael dim yn y diwedd.

*Y Cenfigenllyd.*

"Cenfigen wrth well." Ni wneir cenfigenu wrth is a salach. Os gwelir cymydog dipyn yn dlawd, caiff lonydd, os na châ gydymdeimlad; ond os dechreua ymgodi yn y byd, bydd yn fuan yn wrthddrych gwenwyn a chenfigen. Wedi i rai fethu eu hunain, cenfigenant wrth lwydd eraill yn yr un swydd neu alwedigaeth. Y mae cymwysiad pwysig i'r ddiareb hon yn yr oes yma. Tardda erledigaeth llawer oddiar "genfigen wrth well." Cofier am "y Llwynog yn y gwingynauaf," yn methu cyrhaedd at y grawn, er cynyg yn hir, fel y gorfu fyned adref yn gynffon-lipa, gan gysuro ei hun:

"Os methais ddringo'r mur,
Ba waeth? mae'r grawn yn sur."

Peth sydd yn talu yn ddrwg yn y diwedd yw cenfigen, fel y dysg y Beibl, "Cenfigen a ladd yr annoeth." Felly hefyd y dywed yr hen air Cymraeg, "A fyno ddrwg i'w gymydog, iddo ei hun y daw." Daw y drwg a ddymuna dyn i'w gymydog, adref ato ei hun. Dysgir hyn yn y chwedl am "Y ci, y ceiliog, a'r cadnaw." Aeth ci a cheiliog ryw dro yn gymdeithion, gan gymeryd taith i weled y byd. Ar ddiwedd y

dydd aeth y ceiliog i frigyn o'r goeden i glwydo, a'r ci at fon y pren i gysgu. Clywodd y cadnaw coch newynllyd ef yn canu yn y boreu, a thybiodd fod yno foreubryd iawn iddo, a dechreuodd ganmol canu y ceiliog, ac anogai ef i ddisgyn, gael iddynt gydgantori plygain. Deffrodd y ci wrth y bon, a lladdodd madyn, gan gospi ei ragrith a'i frad. Fel yna yn aml y dygwydd i'r cenfigenllyd a'r bradwrus.

"A guddio bwll i neb mewn bradus amcan,
A syrth ond odid yn y pwll ei hunan."

### *Y Drwgdybus.*

"Drwgdybus drwg eisys." Y mae y dyn pur ei feddwl ei hun, yn ddifeddwl ddrwg iawn am bobl eraill; ond y mae yr un sydd yn llygredig yn ei feddwl ei hun, yn hynod barod i feddwl a chredu drwg am eraill, am y rheswm ei fod ef ei hunan yn "ddrwg eisys." Ac fel y dywed diareb arall ar yr un mater, "Drwg ei hun a debyg (dybia) arall." Fe greda yr un sydd a'i galon yn ddrwg ei hun bob chwedl ddrwg am rai eraill, o herwydd y drygedd sydd yn aros ynddo ef ei hun. Rheol agos anffaeledig i adnabod pobl ddrwgdybus yw hon.

### *Y Rhagrithiol.*

"Angel penffordd, a diawl pentan." Chwi a gewch ambell i un yn wyn, a mwyn, a siriol ar y ffordd, nes peri i chwi dybio ei fod yn ail i angel; ond ewch chwi i'r ty, a gwrandewch arno yn chwyrnu, a brathu, a beio gyda ei deulu, a chwi a gewch mai "diawl pentan" ydyw. Os ydyw dyn i fod yn angel yn rhywle, yn ei dy y mae i fod.

*Yr Hunanol.*

"Digrif gan bob aderyn ei lais," neu fel y mae mewn ffurf arall, "Hoff gan bob edn ei lais." Y mae y dyn hunanol yn cael pleser neillduol wrth glywed ei lais ei hun. Nid yw yn clywed dim *discord* yn ei lais peroriaethus ei hun. Nid yw y fran yn cywilyddio am ei hysgrech yn swn cathlau y fronfraith a'r aderyn du! Ond "nid cynefin bran a chanu"—nid mewn canu y mae rhagoriaeth y frân; a phe credai llawer mor annerbyniol ydyw eu siarad, hwy a dawent. Eto hyfryd fydd gan yr hunanol "ei lais" ei hun.

*Y Balch.*

"Balchder heb droed." Rhyfedd fel y mae llawer yn falch heb sail i hyny. Ac y mae llawer un a thraed ddigon hyll, fel y paen, ond nid yw yn gweled dim ond ei blu hardd. Anghofia y balch yr hyn ydoedd gynt, ar ol cael ei godi. "Nid cof gan offeiriad ei fod yn glochydd." Cymeriad nad ellir ymddiried llawer iddo ydyw y balch. "Nid gwell got (y balch) na lleidr." Nid yw y balch nemawr well na lleidr. Try y balch yn fynych yn anonest. Dyma hanes rhai yn colli y lleoedd goreu—myned rhy falch i fyw ar eu cyflog, a throi i ddwyn. Y mae Twm o'r Nant, yn rhestru y balch yn mysg deiliaid Cadben Cyfoeth, yn mrwydr fawr y byd, y rhai sydd yn colli y frwydr er eu henwau gwych. Adwaenir ef wrth wahanol enwau —"Mr. Ucheldrem," "Mr. Uwch na'i Allu," a "Mr. Labet Lydan." A dyma ddywed yr hen ddiareb arall, "Balchder a'i gydymaith a gafas gwymp ar unwaith." Weithiau y mae Cenfigen yn gydymaith i Falchder, fel yn hanes Haman; a phryd arall y mae

"Mr. Menter Mawr," fel yn hanes llawer o *speculators* America, ac y maent yn cael cwymp yn wastad.

*Y Diog.*

"Aflan ddwylaw diogswrth." Y mae y diog yn rhy ddiog i olchi ei ddwylaw. Gad ambell un ei ddwylaw yn fudron, er mwyn i rai gredu ei fod yn gweithio. Nid da gan neb gael ei alw yn ddiog, a mawr fel y bydd un yn ceisio dangos i'w gymydogion mor llafurus y mae. "Ystig (*industrious*) diog yn nhy ei gymydog." Cymer arno fod yn llawn gwaith yn nhy ei gymydog, ond cysga yn swrth gartref. Yn gyffredin y mae y dyn diog yn syrthio i angen. "Tad angen yw diogi." Gesyd Twm o'r Nant "Ddiogi," a "Seguryd," yn myddin "Cadben Tylodi," y rhai yn y diwedd a syrthiant yn *slafs* i Mr. Angen.

GWERSI CYMDEITHASOL.—Y mae yr hen ddiarhebion godidog hyn yn cynwys gwersi mwy gwerthfawr na'r aur i'r gymdeithas ddynol hyd heddyw.

*Undeb.*

"Cadarnach yw'r edau yn gyfrodedd nag ungorn." mae yr edau ungorn yn cael ei gwneyd o'r rholiau, unir yr ungorn nes gwneyd un ddeugorn, a thrichorn, fel y bydd yn edau gref gyfrodedd. Felly y mae undeb mewn cymdeithas yn gadernid iddi. Ond er cael undeb y mae yn rhaid cael cydrywiedd teimlad, barn, a chwaeth. "Nid uniaith bronfraith a brân." Ni chydgordia lleisiau yr adar hyn. Felly y mae ambell i wr a gwraig gyda eu gilydd—llais brân gan un, a llais bronfraith gyda y llall. Ni cheir undeb fel hyn mewn teulu nac eglwys,

*Diogelwch Teuluaidd.*

"Castell pawb ei dy;" neu mewn ffurf arall, "Castell pob dyn yw ei dy." Y mae pawb yn rhydd i wneyd fel y myno yn ei dy ei hun, ond cadw o fewn terfynau moes a rhinwedd. Teimla y dyn ofnus mewn llan a thref, mewn gwaith a marchnad, yn ddiogel yn nghastell ei dy ei hun.

*Addysg Deuluaidd.*

"Nid cyngor ond tad." Nid all neb roi cysta cyngor a thad da. Gwna ef yn ddidwyll, o gariad, ac o'r dybenion goreu. "Nid gweddi ond mam." Nid oes neb a weddia mor ddidwyll dros ei phlentyn a'r fam. Ond rhaid gofalu fod yr esiampl yn ateb i'r cyngor, a'r weddi. Gwna y ferch yn debyg i'r fam. "A grea'r frân fawr, a grea'r frân fechan."

*Cynildeb a Darbodaeth.*

"Afrad pob afraid." Gwastraff yw pob peth afreidiol. Ni waeth pa mor rad a fydd y peth yn cael ei werthu, os bydd yn afreidiol arnom, gwastraff ag arian fydd ei brynu. Eto gall peth fod yn afreidiol arnom heddyw, y bydd yn wir werthfawr yfory. "Cadw dy afraid erbyn dy raid." Gall gwlawlen fod yn afreidiol ar ddiwrnod sych, ond cadwer hi erbyn y diwrnod gwlawog, pan y bydd yn dda ei chael. "A gatwer a geir wrth raid." Y mae adegau neillduol i gynilo a darbod. "Ar hindda mae gweithio rhag newyn pan ddelo." Dyma wers i weithwyr. A dyma un arall o'r un natur: "Ar hindda y mae cynuta (casglu) rhag anwyd y gauaf." Y mae llawer, ysywaeth, fel sioncyn y gwair, yn canu trwy yr haf, ac yn newynu yn y gauaf. Nid felly y morgrugyn. Ac

nid yn unig y mae eisiau bod yn ddiwyd i gasglu, ond y mae eisiau bod yn ddo th i drefnu Y mae llawer yn ddiddarbod iawn. "Gwerthu mel i brynu peth melus." Ymadael â'r peth melusaf, i gael y melus. Ymadael â'r mwyaf tebyg i droi yn elw a mantais; neu ymadael ag un peth i brynu ei gyffelyb neu ei waelach. "Gwerthu cig hwch i brynu cig moch." Ond os mynir casglu, rhaid byw i ateb i'r sefyllfa. "Bara gwyn, a chig moch, a chwrw, a bâr i wr werthu ei dir." Yr oedd byw fel yna yn fyw bras iawn i'r hen Gymry; ond y mae miloedd yn byw yn frasach yn awr; eto yr un yw yr egwyddor. Dylid bod yn ofalus am y swm lleiaf o arian. "Oni chedwir y ddimai, nid ä hi byth yn geiniog." Os gwaria y plentyn y ddimai yma, er iddo gael dimai wedi'yn, nid ä hi byth yn geiniog. Ond wrth ddal i gynilo yr ychydig, fe gwyd y swm o hyd. "O geiniog i geiniog fe ä yr arian yn bunt."

## *Sobrwydd.*

"Dirwest, a chred, a gweddi." Dyma arwyddair y dyn cyflawn. "Gochel dafarn, ac nac ochel ildio." Lle peryglus yw y dafarn, lle y mae dadwrdd a dawns; gwell ildio myned yno. Y mae "Mr. Caru pot a phibell wrth ei drwyn," a Mr. Mwyn ddifyrwch," wedi dybenu eu hoes yn y tylotdai a'r carchardai. "Nid ffolineb, ond meddwdod." Nid oes neb mor ffol a'r meddwyn—enill ei arian trwy lafur caled, a'u gwario mor ofer! Y mae yn dyfetha cysur ei deulu, yn andwyo ei iechyd, ac yn aml yn dyrysu ei synwyrau.

"Gwario pres, gwir y pryn,
Gwrw 'i dd'rysu 'i goryn."

"Ar ol yfed, syched sydd." Wedi yr yfed a'r llyncu diarbed heddyw, fe fydd y dyn yn llosgi o syched yfory. "Cwrw yn mol, twrw yn mhen." Fel yr hen Shon y Go', yn meddwl fod y garegfarch yn ffraeo ag ef, ac yn ei phwyo nes yr oedd ei ddwylaw yn waed; ond yn ei ben ei hun yr oedd y twrw i gyd.

*Gonestrwydd a Geirwiredd.*

"A ddygo wy, a ddwg a fo mwy." Cadwch lygad ar y bachgen a ddygo wy; fe ddwg fwy cyn hir. Dyma hanes y miloedd ar filoedd o droseddwyr ieuainc sydd yn ngafael y gyfraith yn y wlad hon. Y maent oll wedi dechreu gyda phethau bychain. Dwyn yr wy yn gyntaf, a dwyn yr iar yn nesaf. "Brawd yw y celwyddog i leidr." Os clywir plentyn yn dechreu dyweyd celwydd, gellir dysgwyl clywed neu weled ei fod yn troi i ladrata cyn hir. Yr oedd yn gyfraith yn Twrci, pan y ceffid masnachwr yn euog o ddweyd celwydd, fod ei dy i gael ei liwio yn ddu. Mawr mor ddu fyddai llawer ty yn yr oes hon pe y lliwid ef bob tro y dywedid celwydd. Ac y mae byw mewn celwydd yn arwain yn syth i anonestrwydd. "Dangos i mi ddyn celwyddog, minau a ddangosaf i ti leidr." Y maent yn gyffredin o dan yr un croen. Diwedd drwg a ddaw i'r anonest. "Hir ladrad i grog." Ar y crogbren y dybena y lleidr ei yrfa. Peth mawr yw bod yn onest. "Nid gwaeth gwir er ei chwilio." Deil y gonest ei brawf, ond y mae yr euog yn ffoi heb neb yn ei erlid. Mor ddedwydd y mae y gonest. "Cydwybod lân, diogel ei pherchen." Cysgir yn dawel, fel y dywed gwyr y Gogledd, "Diofal y cwsg potes maip;" neu, fel y dywed gwyr y De,

"Melus y cwsg cawl erfin." Hollol wahanol y gwna y rhai a ddygant ddefaid, ac a fwytânt eu cig a'u cawl. Peth anonest yw rhedeg i ddyled heb feddwl talu. "Ni thawdd dyled er ei haros." Nid ä ddim llai gydag amser, rhaid ymroi i'w thalu. Y mae llawer yn canmol y pethau wrth eu cael, ond yn lladd yn dost arnynt pan yr eir i ymofyn tâl am danynt. "Melus pan geir, chwerw pan daler."

*Iechyd.*

"A fyno iechyd, bid lawen." Y mae tristwch yn andwyo yr iechyd. Ond rhaid gofalu beth yw natur y llawenydd. Y mae llawenydd yr ynfyd, a llawenydd yr annuwiol, yn bwyta y nerth a'r gwir yni corphorol. Nid oes dim mor werthfawr ag iechyd. "Goreu cyfoeth iechyd." Dyma gyfoeth penaf y byd.

*Carwriaeth.*

"Anhawdd gwreica a ffynu yn yr un flwydddyn." Os rhydd dyn ei holl feddol a'i galon ar garu, bydd yn anhawdd iddo lwyddo gyda dim arall. Barn yr hen Gymry am garu oedd, "Nid da gwreica yn mhell;" a chyngor tad i'w fab ydoedd, "Na wreica ond yn agos." Y mae llawer wedi cael eu siomi wrth fyned ar ol dyeithriaid. Ond y mae eithriadau pwysig i hyn, er hyny rheol dda ydyw. Aeth llawer hen lanc i Loegr o Gymru i ymofyn gwraig, a chaed merched dyledog a thafodog.

*Gwersi Gwleidyddol.*

Nid rhyw lawer o ddiarhebion gwleidyddol wyf wedi allu gael allan, ond y mae yr ychydig a gefais yn dangos fod yr hen dadau yn deall egwyddorion syl-

faenol llywod-ddysg dda. "Eang yw'r byd i bawb." Gall dyn ymfudo ac ymgartrefu fel y dewiso.

"Trech gwlad nag arglwydd." Y mae hon yn cael ei dyfynu yn aml yn adeg etholiadau ac ymdrechfeydd gwleidyddol, ac y mae wedi ei phrofi yn wir iawn y blynyddoedd ddiweddaf. Pan y bydd gwlad wedi ymddeffro i fynu ei hiawnderau, y mae yn sicr o orchfygu yr arglwydd mwyaf trawshoniadol a childynus.

"Traha a threisio y gweinion, a ddifa'r etifeddion." Y mae y mawrion sydd wedi hir orthrechu y tylodion a'r gweiniaid, wedi colledu a dinystrio eu hunain. Y maent yn colli nawdd Duw a pharch dynion.

"Arf a geidw heddwch." Credai y[illegible]au mewn bod yn arfog er diogelu heddwch gwlad.

"Brenin heb ddoethineb," y mae yn gaswr pob dyn da; ac felly y mae Llywydd ac Arlywydd annoeth.

"Brenin fydd unllygeidiawg yn mysg y deiliaid. Rhaid iddo beidio sylwi ar bob mân bethau, onite ni châ derfyn ar reoli amgylchiadau. Y mae swyddogion gwladol gorymyrgar yn feichus iddynt eu hunain, a blinderus i wlad.

"Nid â cynyg arglwydd i lawr." Gwneir cryn sylw o'r hyn a gynygia mawrion pob gwlad.

*Gwersi Moesol a Chrefyddol.*

Pan nad oedd Beiblau, nac Ysgol Sabbothol, na phregethu efengylaidd gan yr hen genedl, mawr mor werthfawr oedd y diharebion canlynol a'u cyffelyb.

"A Duw nid da ymdaraw." Y mae hwn yn ysbryd yr hen ymadrodd Beiblaidd hwnw, "Pwy a ymgaledodd yn ei erbyn ef, ac a lwyddodd?" Rhybuddiwyd tô ar ol tô o'n cenedl, a'r hen eiriau hyny,

"Hwyra dial, dial Duw; llwyra dial, dial Duw." "Hir yr erys Duw cyn taro, llwyr y dial pan y delo." Er fod Duw yn hwy yn cosbi na neb arall, pan y gwna, gwna yn drymach. Oddiwrth Dduw y ceir dysg i bob da. "Ar bob da Duw sydd athraw." Nis gall neb wella yr hyn a wna Duw. "A wnelo Duw nid â yn adwaith." Ceisir gwella y goleuni celfyddydol o hyd, ond y mae hen haul Duw yn para yn ei ogoniant o hyd. Y mae ffafr Duw yn well na ffafr pawb, a'i gael ef yn gyfaill yw bendith benaf dyn. "Gwell Duw na dim." "Gwell Duw yn gâr na llu y ddaear." Troi yn siomedig a wna Satan i'w weision ffyddlonaf. "Drwg y ceidw'r diawl ei was," ei ollwng yn *sport*, a wna yn y diwedd. Bydd Duw yn ffyddlon i'w weision. Y baich trymaf o bob baich yw pechod yn erbyn Duw. "Trymaf baich, baich o bechod." Bydd yn anhawdd ei gario, ac yn anhawddach na hyny gael gwared o hono. Ond medr Duw wella enaid euog. "Goreu meddyg, meddyg enaid." Dyma y meddyg goreu o bawb yw yr un a all symud pla y galon. Fe fyn Duw gyfiawnder i bawb. "Duw cadarn a farn bob iawn." Peth tylawd yw bod heb Dduw. "Heb Dduw, heb ddim; Duw a digon. Er meddu cyfoeth, a dysg, ac anrhydedd, os heb Dduw "heb ddim;" ond er i ni fod heb y pethau hyn, os bydd Duw yn Dduw i ni, dyna ddigon am byth. Dylem gofio mai Duw sydd i lywodraethu ar bob peth. "Meddwl dyn, Duw a'i terfyn." Ofer pob dyfais a llafur heb fendith Duw. "Ty ni fyno Duw, ni lwydd." "A gadwo Duw, cadwedig fydd." Nid oes dim dedwyddwch gwirioneddol yn y byd hwn, ac ni fydd yn yr un a ddaw, ond gyda Duw. "Nid hyfrydwch ond gyda Duw."

Y mae ugeiniau o wersi eraill yn y Diarhebion Cymreig, ond y mae hyn yn ddigon i ddangos y fath gyfoeth llenyddol sydd genym. Bu y rhai hyn yn llusernau llachar yn goleuo Cymru am lawer oes, ac y mae ynddynt oleuni eto i daflu ar lwybr bywyd am oesau i ddod.

# BARDDONIAETH.

---

## GALAR BRAWD AM FRAWD.

[Cyfansoddais yr Alareb hon ar ol fy anwyl frawd, John Thomas, o'r Bala, yr hwn a fu farw Gorphenaf 3, 1857, yn 47 mlwydd oed, wedi bod yn pregethu gyda y Trefnyddion Calfinaidd oddeutu ugain mlynedd. Dechreuodd bregethu yn agos i'r un amser a'i hen gyfaill, y diweddar Dr. Charles, o Drefecca. Efe a fu yn gweithredu, fel y Bugail cyntaf i eglwys y Bala, ac y mae cofnodion o'i waith yn fy meddiant yn dangos mor fedrus, ac mor gydwybodol y gwnai y gwaith hwnw. Dyoddefodd boenau blin oddiwrth *cancer* yn ei gylla. Gorwedda ef a'i briod yn ymyl un o'i hen gyfeillion anwylaf—y Parch. Lewis Jones, awdwr y llyfr rhagorol hwnw, "Oriau Olaf Iesu Grist." Gadawodd fab a merch ar ol. Y mae ei ferch Jane wedi priodi Mr. R. Jones, ac yn byw yn ei hen gartref yn y Bala; ac y mae ei fab yn cadw ystor yn Ffestiniog. Teimlai yr holl deulu ymlyniad neillduol wrth John, gan ei fod yn ddyn mor rhagorol o dda a duwiol, a theimlwn i, os yr un, fwy o ymlyniad na neb, gan ei fod ef yr hynaf, a minau yr ieuengaf. Cyfansoddais y gân hon yn Hydref 1857, pan yr oeddwn yn gydmarol ieuanc. Cydnabydda rhai o bregethwyr a llenorion penaf Meirion yn eu llythyrau ataf, fod fy mrawd John "yn dduwinydd cryf, yn ysgrythyrwr manwl a chywir, ac yn hanesydd Cymreig o awdurdod uchel."

Tystiolaethai y diweddar fardd awenber Dewi Glan Peryddon, mai efe oedd "y cyngorwr goreu a gefais erioed, ac o fyned o'i lwybrau cyfarwyddiadol ef y cefais y gofidiau mwyaf yn fy oes."]

Pa newydd o Gymru a gludir im' heddyw?
  Mae'r awel yn dyner, teg foreu yr haf;
Ond teimlad pryderus ymwibia trwy 'm mynwes,
  Ac ofnwyf mai newydd pruddglwyfus a gaf.

*Cnoc* trwm awdurdodol y cludydd llythyrau,
  Frawycha fy mynwes gynhyrfa fy ngwaed;
Ah! dyma ryw lythyr, rhaid edrych ei gynwys,
  Eich brawd a fu farw yw'r newydd a gaed.

Pa fodd y cysylltaf y gair oeraidd Marw,
  A'r brawd mwyaf anwyl o fewn yr holl fyd?
Wrth uno'r fath eiriau tywylla fy llygaid,
  A ffrydlif o honynt ddylifa o hyd.

Pa ryfedd i'r ie'ngaf o'r anwyl frawdoliaeth,
  'Nol marw yr hynaf, i deimlo mor fawr?
Yn swn ei weddiau y cefais fy magu,
  Ah! clywaf ei adlais ddwysdreiddiol yn awr.

Efe ydoedd seren foreuol y teulu,
  Roi arwydd y torai cyn nemawr y wawr,
Er dued y wybren, ymgiliai'r tywyllwch,
  A rhodio yr ydym tan haulwen yn awr.

Andreas at Pedr ei frawd a gyfeiriodd,
  'Nol gwel'd y Messiah yn gyntaf ei hun;
A John yn gyffelyb gymhellai 'i frawd William,
  I dderbyn y cyfaill yn angeu a lyn.

Tynged pawb o'r teulu bwysai
  Ar gywirdeb crefydd John,
Pe y troisai yn dwyllodrus,
  Gwnaethai 'i ol i'r fynyd hon;
Fel y gwna ymddygiad blaenor,
  Gyrhaedd calon pawb o'r llu,
Felly gwnaethai 'm mrawd effeithio,
  Arnom oll o fewn y ty,

Cynes roddwn glod i'r nefoedd,
  Am ei ddonio â'r fath ras,
Ac am roddi goruchafiaeth,
  Ar gynlluniau 'r gelyn cas;
Ni a'i clywsom pan yn ieuanc,
  Drosom yn gweddio'n daer,
Cawsom deimlo nerth ei gyngor,
  Ini 'r oedd yn gadarn gaer.

Dros enyd myfyriai yn ddwys wrtho 'i hunan,
  Ar gyflwr annuwiol a damniol y byd;
Gan danllwyth o gariad y llosgai ei fynwes,
  Ar achub eneidiau y rhoddai ei fryd.

Gwrandawai ar Sinai yn rhuo'i melldithion,
  A dynion heb deimlo taranau ei llid;
Eu gwel'd mor ddigyffro gynhyrfai ei galon,
  I'w galw i ddianc i'r noddfa mewn pryd.

Pêrseiniau Calfaria a swynai ei enaid,
  A'i fywyd a bwysai ar aberth y groes;
Yn genad i'r Iesu chwenychai gael treulio,
  Bob mynyd yn ffyddlon hyd ddiwedd ei oes.

Amlygai ei deimlad i'w anwyl gyfeillion,
  Pob cymorth a roddent yn unfryd a llon;
Cyn hir i'r areithfa fe'i galwyd yn unol,
  Ac yma arllwysai ddwys deimlad ei fron.

Ei ffordd ni phalmantwyd gan fri ei hynafiaid,
  Rhaid iddo ei hagor bob modfedd ei hun;
Ei wel'd yn dal ati er cymaint y rhwystrau,
  Brawf ini fod rhywbeth yn nghalon y dyn.

I fewn i'r *Hen Gapel* ar foreu y Sabboth,
  Af gyda f' arweinydd i glywed fy mrawd;
Ymdrechaf roi dárlun diweniaith o hono,
  Heb wrando ar deimlad perthynas na chnawd.

Dacw ef yn araf esgyn,
  I'r areithfa uchel fri,
Lle y bu yn hir cyn yma,
  Gawri cedyrn Calfari;

Y mae natur wedi 'i ddonio,
  A chorff llydan iachus wedd,
Beiddgar hyf nid yw er hyny,
  Ynddo ef teyrnasa hedd.

Nid oes ganddo lygaid treiddgar,
  Bywiog bardd yn llawn o dân,
Ond dysgleiria 'n brydferth ynddynt,
  Fwynder siriol calon lân;
Tafod melus, iraidd, esmwyth,
  Na llais peraidd, ystwyth, mwyn,
Nid oes ganddo i foddio 'r dyrfa,
  Ddim o'r rhai'n a'u hyfryd swyn.

Nid yw'n ceisio plethu geiriau,
  Gan eu tywallt gyda grym,
Nes y byddont yn ymglecian,
  Fel trwst taran uchel llym;
Ar adenydd cryf dychymyg,
  Ni ddwg ymaith neb ar hynt,
Ni chynhyrfa ef deimladau,
  Fel y goedwig gan y gwynt.

Nid yw ef yn wr poblogaidd,
  Ddena ganoedd ar ei ol,
Ac y daw yn rhwydd gerbydau,
  Am filldiroedd ato i'w nol;
Nemawr byth ni cheir ei glywed,
  Ar y maes mewn Sasiwn Fawr,
Yn y wlad yn fwyaf mynych,
  Ceir ei glywed ef yn awr.

Ni chynygia at arabedd,
  Llawn digrifwch ac o sen,
Nes cynhyrfu son am dano,
  A mawr chwerthin am ei ben;
Nid yw chwaith yn wr dysgedig,
  Er cyflawni diffyg dawn,
Pethau fernir yn boblogaidd,
  Diau ynddo ef ni chawn.

A oes ynddo ddim rhagoriaeth?
  P'am 'r esgynodd i'r fan hyn?

Parod yw rhyw ddegau 'i ateb,
  "Oes y mae," mewn teimlad syn;
Dyma gyfle teg i'w wrando,
  Bydded ini wneyd yn iawn,
Safwn ar hen safle 'r Beibl,
  Fel cawn arno olwg lawn.

Clywch, mae wrthi yn gweddio,
  Plentyn eilw ar ei Dad,
Tywallt mae ei galon ddrylliog,
  Coffa wrtho 'i eiriau mâd;
Mae y teulu mabwysiedig,
  Gyd ag ef yn codi 'u llef,
Teimlad wna i deimlad ateb,
  Pan y dwys anercha 'r nef.

Llawn o brofiad yw ei weddi,
  Teimla pawb y modd mae'n byw,
Dyn a'i dywydd a ddarlunia,
  Mewn dwys wasgfa wrth ei Dduw;
Mae 'i eiriolaeth dros y dyrfa,
  Yn rhoi urddas ar ei waith,
Ac yn gwneyd ei enw 'n anwyl,
  Beraroglau flwyddau maith.

Eglur rhydd ei destyn allan,
  Heb un chwydd, mewn syml wedd,
Nid yw'n ceisio creu dysgwyliad,
  Dawn i hyny ef ni fedd;
Llwyr olrheiniai 'r cysylltiadau,
  Tyn oddiarnynt blyg ar blyg,
Achau'r testyn trwy yr oesau,
  Ger ein bron yn drefnus ddug.

Mae yn fedrus mewn beirniadu,
  O bob gair llwyr wasga'r nodd,
Pan mae'n datod y cylymau,
  Teimla'r dyrfa wrth ei bodd;
Hanesyddiaeth ysgrythyrol,
  Ddengys ini 'n ngoleu dydd,
A rhydd ini wersi buddiol,
  Er cryfhau ein hegwan ffydd.

Wedi agor ffordd agored,
  At ei destyn, clywch yn awr,
Y mae ganddo ryw athrawiaeth,
  A dyr allan fel y wawr;
Mae y dosparth gwir fyfyrgar,
  Yn gwel'd gemau yn ei law,
Er yn methu yn iawn eu dangos,
  Eu gogoniant allan ddaw.

Codi'r llygaid a wneir ato,
  Ni ofelir am ei lais,
Gan rymusder ei athrawiaeth,
  Dena 'r sylw heb un trais;
Hen adnodau fel cymylau,
  Gan ymarllwys dd'ont i lawr,
Nid rhyw ambell i ddyferyn,
  Ond cawodau trymion mawr.

Yma mae ei brif ragoriaeth,
  Nid yn fynych ceir ei ail,
Yn ei gadarn adeiladaeth,
  Meini Duw rydd ar ei sail;
Nid oes pryder ar un wyneb,
  Rhag gwna gam â geiriau'r ne',
Y mae wedi 'u trefnu 'n ddestlus,
  Cywrain gydiant yn eu lle.

Y mae 'nawr ar fin terfynu,
  Gyda dwysder gwas i Dduw,
Rhydd apeliad at y galon,
  A gafaela yn y byw;
Ocheneidiau ymddyrchafant,
  Drwy y dyrfa yma a thraw,
Gwenau esmwyth welir wed'yn,
  Fel yr ardd ar ol y gwlaw.

*Athrawiaethwr efengylaidd,*
  Pur a thrylwyr o'r iawn ryw,
Wedi imi wrando 'n fanwl,
  Gallaf ddweyd mai dyma yw;
Ca'dd y rhai o naws efengyl,
  Nad edrychant ar rwysg dawn,

Yn yr oedfa heddyw boreu,
Ganddo eu boddloni 'n llawn.

Fel gwyntoedd y gauaf gerwinol a chwythant,
Dros benau'r mynyddoedd orchuddir gan ia,
Y rhed yr oer hiraeth 'nol marw 'm brawd anwyl,
A chwalu 'm cysuron yn hollol a wna.

Mor dda 'rwyf yn cofio y gofal gymerodd,
I'm dysgu yn blentyn yn nghyfraith yr Ior;
Y modd y gwnai 'm denu i'w hastud fyfyrio,
A chasglu o honi gyflawnder o stôr.

Tra adrodd wnawn wrtho holl lyfr Diarhebion,
Cyn cyrhaedd fy naw mlwydd yn ofnus fy ngwedd;
Ei law ar fy ysgwydd yn dyner a roddai,
A gwenai 'n foddlongar i'm cadw mewn hedd.

Pan bechwn adgofiai y geiriau adroddais,
Ac, O mor llymdreiddiol oedd cerydd fel hyn,
Cyrhaeddai hyd eithaf dyfnderoedd fy nghalon,
A chiliwn o'r neilldu yn bruddaidd a syn.

Ymdreiglodd blynyddau, daeth mawr gyfnewidiad,
Chwalasom fel teulu yn un ar ol un;
Ond John gyda 'i briod, ei blant, a'i hoff riaint,
Yn ffyddlon i'r Bala trwy bob peth y glŷn.

'Nol gwrando corwyntoedd y gauaf yn rhuo,
Yn mhell oddiwrth aelwyd gynesol ein mam,
Mor hoff wrth ymweled ar godiad y flwyddyn,
Oedd cwrdd â'r brawd anwyl a'r cyfaill dinam,

Dyrchefid ein henaid i ymyl y nefoedd,
Pan brofwn addoliad ysbrydol ei dy,
Yn erbyn rhyw gellwair a rhith o ddyledswydd,
Y gwnai gyda dwysder ymosod yn gry'.

Darllenai'n rheolaidd holl lyfrau'r Ysgrythyr,
A'r nodau yn fanwl sydd trwyddynt i gyd;
'Roedd gweddi yr aelwyd mor llawn ac urddasol,
A phe yn bresenol holl ddynion y byd.

'Nol tywallt ei galon wrth Dduw yn y boreu,
Fe deimlai yn hyfryd at orchwyl y dydd;

A chwrdd â'r fath ysbryd oedd gordial i galon,
Rhai rodient mewn t'w'llwch yn weiniaid eu ffydd.

Agorai ei fynwes mewn melus gyfeillach,
Pelydrai 'i sirioldeb trwy 'r cwmni i gyd,
I wneuthur yn ddedwydd ei serchog gyfeillion,
Trwy 'i fywyd yn wastad y rhoddai ei fryd.

Fe graffai ar nodweddd gwahanol dymerau,
Ni roddai er un peth guddfrathiad i fron;
Os gallai ef rywfodd ysgafnu gofidiau,
Fe deimlai fel angel yn foddgar a llon.

Os byddai y cyflwr yn pruddo rhyw fynwes,
A'r galon ar drengu gan drymder ei chur,
Yn syth at John Thomas yn wastad cyfeirid,
A chanddo ceid olew iachusol a phur.

Y cleifion bob amser anfonent i'w gyrchu,
'Roedd ganddynt fath hyder y deuai efe;
Heb oedi yn union yr âi i'w dyddanu,
Yn nefol ei ysbryd trwy 'r cymoedd a'r dref.

Gwefusau crynedig gan lymder cystuddiau,
Ddiolchent yn wresog yn ngolwg ei wedd;
O'r llygaid a gochwyd gan hallter y dagrau,
Pelydrai sirioldeb, tawelwch, a hedd.

Ar gri y tylodion gwrandawai 'n dosturiol,
Ai at y chwiorydd boneddig a mwyn;
Gan ddadleu eu hachos nes enill eu teimlad,
A threfnai ymwared yn brydlon i'w cwyn.

Fel gwylia y garddwr yr egwan blanhigion,
Y sylwai 'n ofalus ar ie'nctyd ei oes,
Ymsaethai o'i lygaid ryw siriol belydrau,
Wrth weled eu cynydd mewn rhinwedd a moes.

Yn nwylaw y gweiniaid ymaflai yn anwyl,
Ac iddynt rhoi gymorth yn dyner a mwyn;
I Seion fe'i denai i afael y gwleddoedd,
Nes collent mewn moliant eu hochain a'u cwyn.

Gan bawb fe'i cyfrifid yn enwog mewn cyngor,
Ymblethai tynerwch, callineb, a phwyll,

Trwy 'i eiriau grasusol, nes enill y pleidiau,
I ymlid ar unwaith bob culni a thwyll.

'Roedd llwyddiant yr achos trwy'i ranau amrywiol,
Yn gorphwys yn agos i'w deimlad o hyd;
Fe wylodd afonydd wrth weled plant Seion,
Yn syrthio 'n ormodol i ysbryd y byd.

Fe gafodd ryw deithiau gorflinion i'w cerdded,
Trwy fywyd cyhoeddus bob Sabboth o'r bron:
Ysgwyddau'r mynyddoedd a sangodd mor fynych,
Sydd dystion o'i ludded tan yni ei fron.

Meddyliwch am dano ar foreu dydd Sadwrn,
Yn brydlon a bywiog yn gadael ei dŷ;
Deg milltir ar hugain i'w cerdded sydd ganddo,
Mor fawr yw ei gariad, mae'i yni yn gry' !

Dilynwch ei gamrau, mae 'i ffyrdd ef yn eirwon,
Ymgodi wnant weithiau dros ysgwydd y bryn,
Yn elltydd digysgod gan herio bob cryfder,
A cheimion ymdroant trwy'r corsle 'nol hyn.

Draw, draw mae 'n ymgodi y mynydd uchelgrib,
Rhaid cyrhaedd ei gopa cyn gorphen y daith;
Mae'r haul wedi machlud, John eto sydd wrthi,
A'i fynwes yn gynes yn ysbryd y gwaith.

Yn ymyl yr aber eisteddai i orphwys,
Siriolai ei galon wrth weled ei dw'r;
Yn ffrydio mor beraidd gan olchi 'r mân geryg,
A gwenu fel priod yn ngolwg ei gwr.

Ail gychwyn wna eto, a'i fynwes mor ddedwydd,
A'r oenig chwareua ar lethrau y fron;
Ymgomia âg anian mewn perffaith ddystawrwydd,
Wrth fyn'd a dychwelyd yn ddedwydd a llon.

Er tywydd gerwinol y gauaf dryghinog,
Pan cuddir y ddaear âg eira ac iâ;
Neu 'r disgyn heb arbed yr oeraidd wlawogydd,
Byth dori cyhoeddiad er un peth ni wna.

Llanarmon fynyddig, Brynllin, a Llanwddyn,
Y tywydd gerwinaf a ddeuent i'w ran;

Dangosai ffyddlondeb mewn egni tros fesur,
  Os byddai yr achos yn rhyw le yn wan.

Os gwgai y wybren, calonau y brodyr,
  Agorent i'w dderbyn fel cenad eu Duw,
Ac ato ymddygent yn gywir gyfeillion,
  Ni feddai 'u hanwylach ar dir y rhai byw.

Mawr hoffid ei gwmni wrth deithio trwy'r siroedd,
  Gan fel yr ymdreiddiai i hanes ei wlad;
Perthynas pob llanerch a helynt 'r hen oesau,
  Adroddai yn fanwl er perffaith foddhad.

Pob mynydd a chreigfryn, pob bwthyn a phalas,
  Pob ffynon ac afon hynodid mewn bri;
Mewn undeb ag hanes ein henwog hynafiaid,
  Ddarluniai yn fedrus er syndod i ni.

Mi glywaf ryw adlais or-brudd yn fy ngalw,
  I ollwng fy ngafael yn mywyd fy mrawd;
A threfnu fy nheimlad i dderbyn yr ergyd,
  A waeda fy nghalon, orletha fy nghnawd.

Tymeredd pob llythyr, ai'n bruddach bob wythnos,
  Fel cysgod gordrymaidd cymylau yr hwyr;
Er hyny dysgwyliwn ca'i eto 'i adferu,
  Nis gallwn trwy bobpeth ro'i fyny yn llwyr.

I'w wel'd yn ei gystudd fel brodyr fe 'n galwyd,
  Ac Ah! nid anghofiaf ei wedd y pryd hyn;
Bob tro yr adgofiaf yr adeg ddigysur,
  Fy nghalon gan dr<sub></sub>ymder o'r gwaelod a gryn.

I mewn i'w ystafell, yn syth at ei wely,
  Yr aethum mewn pryder yn ysig fy mron,
Ei law a estynai, a gwenai 'n nefolaidd,
  Ni chwrddais trwy 'mywyd ag egwyl fel hon.

Ni wyddai pwy oeddwn, er iddo fy nghyfarch,
  Ow! druan, nis gallai adnabod ei frawd;
Ei synwyr gymylwyd gan gystudd angeuol,
  Mae hon yn olygfa ry echrys i gnawd.

O wele un anwyl fu unwaith mor gryfed,
  A heinif ei gamrau a neb yn y wlad,

A'i wrid wedi gwywo, a'i ruddiau yn rhychlyd,
  Na ddichon un ddyfais roi iddo iachad.

O'i amgylch mae penaf gyfeillion ei fywyd,
  A'i briod yn wylo yn ymyl ei blant,
Ac yntau rhwng tonau cynhyrfus ei gystudd,
  Yn berffaith ddiachwyn, mor ddedwydd a sant.

Ar dranoeth y boreu, O werthfawr fynydau,
  Dadebrodd yn esmwyth, ac atom y troi;
Pan welodd mai'i frodyr a wyliai ei wely,
  Ei felus gyfarchiad yn serchog a roi.

Fel gwenau teg haulwen rhwng trymion gawodau,
  I'r teimlad 'r oedd seibiant am enyd fel hyn;
Ond gadael raid imi, Ow, adael digalon,
  Mae'm calon yn ddrylliog, a'm llygaid yn llyn.

Y gwaed a Chalfaria, a'r cadarn gyfamod,
  Y nef a'i gogoniant, hyd eto y sydd,
Yn tanio ei galon mewn gwresog orfoledd,
  A'i ddwyn o'i holl ofnau fel seraph yn rhydd.

Un gair anmhriodol ni ddeuai o'i enau,
  Ond pobpeth yn ysbryd gwir grefydd a moes;
Achubiaeth trigolion y Bala a'i chylchoedd,
  Ddeisyfai'n frwdfrydig hyd ddiwedd ei oes.

Yr wythnos ddiweddaf o'i fywyd cystuddiol,
  Mi hoffwn fyn'd trwyddi heb gyffwrdd o'r bron;
Fe'i dygwyd i Ddinbych o fynwes ei deulu,
  A dyma 'r daith olaf i'm hanwyl frawd John.

Buasai 'n foddlondeb i'm teimlad perth'nasol,
  I'm brawd gael ymadael mewn heddwch a'r byd
O fewn ei hoff gartref yn ngolwg ei briod,
  A'i luaws cyfeillion yn gweini yn nghyd.

Nid felly y trefnwyd, pa'm grwgnach gwnaf bellac
  Mae crefydd yn dysgu fod engyl wrth swydd,
Yn gweini i'r seintiau pan balla braich ddynol,
  Ac iddynt ddod ato mi gredaf yn rhwydd.

Fe blygai ei ddwylin ar waelod ei wely,
  Am oriau bob diwrnod cyn gorphen ei daith;

A'r nefoedd a wenai, 'nol machlud haul anian,
  Ac ati fe'i galwodd yn dyner ei hiaith.

Bu farw, bu farw, heb neb yn ei weled,
  Ond ffydd a'i canfydda, yn nefol ei wedd,
Yn nghwmni angylion yn gadael y ddaear,
  Mewn urddas yn cyrhaedd trigfanau yr hedd.

Tref Dinbych, mor fawr y'th ddyrchafwyd di eto,
  Cerbydau y nefoedd ymwelsant a'th fro,
Yn llawnion o engyl, i geisio 'mrawd duwiol,
  Cysegrwyd dy enw trwy urddas y tro.

Ei gladdu raid bellach, mae'i feddrod yn Meirion,
  Ac yno fe'i dygir er pelled y daith;
Rhyw ganoedd ddysgwyliant mewn galar am dano,
  Wrth gofio'r amgylchiad fe balla fy iaith.

Sut mae'r awel wedi oeri,
  A newidiodd cylch yr haf?
Pa'm mae'r adar wedi tewi,
  Beth siriola 'm mynwes glaf?
Prudd-der orphwys ar bob gwyneb,
  Ochain gyfyd o bob bron,
Beth yw'r achos o'r fath dristwch,
  Lenwa 'r Bala 'r adeg hon?

Llawn esboniad gaf wrth edrych,
  Tua phruddaidd dy fy mrawd,
Blin dymhestloedd, galar calon,
  Bar fath drymder trwy fy nghnawd;
O mor chwerw ydyw heddyw,
  Dydd a gofiaf trwy fy oes,
Gwywo wnaeth fy holl gysuron,
  Daeth alaethus adfyd croes.

Geilw 'r bedd yn awr am dano,
  Yntau'n barod iddo mae;
Cau a wnaeth ei lygaid tyner,
  Ar wrthddrychau byd y gwae;
Ni chawn eto 'i gwmni yma,
  Darfu 'i dymor ar y llawr,
Gair ni ddywed wrthym heddyw,
  Mud yw'r tafod mwyn yn awr.

Huna'n dawel yn ei amdo,
  Wedi dyodde' i olaf loes;
Dyma'r arch yn cael ei chauad,
  Rhaid tawelu tan y groes;
Ow, ni chawn ei weled eto,
  Nes myn'd heibio 'r hirnos ddu;
Daeth yr adeg drymaidd hono,
  Dygir ef i'w oeraidd dy.

Tyrfa sydd at dyrfa 'n casglu,
  Hawdd yw canfod ar eu gwedd,
Fod rhyw anwyl was i'r Iesu,
  I'w roi heddyw yn y bedd:
Wedi hynod ddwys anerchiad,
  Ffurfir yr orymdaith brudd,
Dagrau heilltion yn gawodau,
  A ddisgynant dros bob grudd.

Pe yn unig yn ymdeithydd,
  'R aethwn heibio 'r adeg hyn;
Gwnaethai rhif a gwedd y dyrfa,
  Imi deimlo 'n brudd a syn;
Gwel'd arwyddion ar fasnachdai,
  Eglur galar trwy y dref,
Gall swn dybied am y marw,
  Mai tywysog mawr oedd ef.

Cwmwl trallod du ymdaenai,
  Dros y wybren ganol dydd,
Ar bob anedd trwy'r heolydd,
  Nodau tristwch 'n amlwg sydd;
Seiniau prudd y llu cantorion,
  Dreiddiant trwy ein hysig fron,
Nes ymdafla dros y glanau,
  Genlli dagrau 'r egwyl hon.

Mae Pendomen fel hen famaeth,
  'N awr yn wylo am ei phlant;
Dol y Plas tan rym ei dolur,
  Heddyw seinia 'i phruddaidd dant;
Pan o'r golwg cilia 'r Bala,
  Wyla canoedd ar Benrhiw,

Gan och'neidio trwy Rhyducha',
  'R ä y dyrfa tan eu briw.

Nesu yr ydym at Llidiardau,
  Bro dystawrwydd, dyma 'r lle;
Ynddi mae yn huno 'n dawel,
  Enwog deulu Brenin Ne';
Mynydd Nodol, a'r Arenig,
  Uwch ei phen yn gwylio fydd;
Rhag galanas y tymestloedd,
  Hyd nes gwawria 'r olaf ddydd.

Dyma 'r bedd, O wely oerllyd,
  Ynddo rhoddir f' anwyl frawd,
Gwelaf ynddo lawn esboniad,
  Ar ynfydrwydd balchder cnawd;
Lewis Jones sydd wrth ei ymyl,
  Pwy mor anwyl ag efe?
Canwaith wylodd John am dano,
  A chyfeiriodd at y lle.

Tra yn gwrando ar anerchiad,
  Cynes ei gyfeillion cu,
Tyr goleuni trwy'r tywyllwch,
  Tew a thrwm y beddrod du;
Gwelaf ddydd yr adgyfodiad,
  Gorfoledda f' enaid trist,
Pan y profir in' mor gadarn,
  Sicrwydd adgyfodiad Crist.

Daear arno sydd yn cauad,
  Cuddir ef o'n golwg mwy;
Rhaid ei adael mwyach yma,
  Trwm yw'm calon tan ei chlwy;
Dagrau brodyr a chyfeillion,
  Sydd yn mwyn eneinio 'i fedd;
Er y credir gyda sicrwydd,
  Fod ei enaid ef mewn hedd.

O John, rhaid im' dy adael,
  O fewn dy wely pridd,
A threulio 'm dyddiau bellach,
  Yn unig ac yn brudd.

Fe ddarfu'th boen a'th lafur maith,
A gorphwys 'rwyt oddiwrth dy waith;
Os na chyrhaeddaist gyfoeth mawr,
Cyrhaeddaist fwy na fedd y llawr;
Cymeriad da, gwir ddelw Duw,
Enillaist hwn wrth nefol fyw;
Dy blant a'th weddw gan dy Ior,
Gynelir o'i anfeidrol stor;
Am hyn bydd dawel hyd y dydd,
Y cei o'th fedd ddod byth yn rhydd.

Yn fuan down i orwedd,
I'r beddrod atat ti;
Ffarwel fy mrawd dros enyd,
Cei eto 'n cwmni ni.

---

## ELIAS AR BEN CARMEL.

Elias sy'n dyfod o gysgod y creigiau,
Yn hollol ddigyffro dros lechwedd y bryn,
A'i wallt yn gydynau arianaidd yn chwyfio,
A'i fantell yn flewog, a'i wregys yn dŷn.

Pob llygad sydd arno yn fflamio mewn pryder,
Am wybod o'u casglu beth ydyw ei nôd;
Rhyfeddant at symlder dirodres ei agwedd,
A'i ysbryd gwronaidd mor eon yn dod.
* * * * * *

Nesâu mae Elias a gwawd yn ei wenau,
Dan boethder yr huan ar haner y dydd;
Cyfarcha lu Baalim heb ofn eu dialedd,
Er dwyn i derfyniad hen ymffrost eu ffydd.

Pob calon trwy'r dyrfa sy'n curo yn gyflym,
A phryder angerddol feddiana bob gwedd;
Tra wrthi gweddia y tanllyd weddiwr,
Teyrnasa dystawrwydd ar bawb fel y bedd.

Fe rwygodd y nefoedd cyn gorphen gweddio,
Y tân yn gawodau ddisgyna i lawr;
Ffwrneisiau y nefoedd arllwysodd eu fflamiau,
A'r aberth a daniwyd mewn eiliad yn awr.
* * * * * *

Jehofah efe sydd wir Dduw,
Jehofah 'fe sy' Dduw;
Dyrchafwn ein llef,
O fawl iddo ef,
  Ac iddo 'n dragywydd gwnawn fyw.

Jehofah efe sydd wir Dduw,
Jehofah 'fe sy' Dduw;
Coronodd ei was,
'Nol mawredd ei ras,
  Elias sy' brophwyd Duw byw.

Jehofa efe sydd wir Dduw,
Jehofa 'fe sy' Dduw;
Duw 'n tadau yw ef,
Duw daear a nef,
  Molianus fo enw ein Llyw.

Jehofah efe sydd wir Dduw
Jehofah 'fe sy' Dduw;
Mae Baal er ei glod,
I warth wedi dod,
  Na chaffed ei weision ef fyw.

* * * * * *

Mae creigiau pen Carmel fel myrdd o delynau,
  Yn uchel ddadseinio banllefau eu mawl;
Cyrhaedda eu moliant hyd orsedd y Duwdod,
  Ymdaena hyd eithaf gwlad uchel y gwawl.

Yn gydgor ag engyl y seintiau aeth adref,
  Folianant yr Arglwydd yn uchel eu cân;
"Mae gobaith i'r ddaear," medd Abra'm wrth Moses,
  Pan welai ar Carmel yr aberth ar dân.

* * * * * *

A'i ben rhwng ei liniau mewn gwedd ostyngedig,
  Y plyga yr enwog orchfygydd yn awr;
Ar Carmel gorchfygodd, ar Carmel y plyga,
  Mor wylaidd 'r edrycha, mae 'i daerni 'yn fawr!

Dros Israel eiriola am agor y nefoedd,
  A thywallt i'r ddaear sychedig ei gwlaw;
Er mor anobeithiol wrth olwg y wybren,
  Mae 'r prophwyd ei hunan yn sicr y daw.

Y Llywydd a droa ei allwedd fawreddog,
Yn norau y nefoedd i ollwng y gwlaw;
Y mellt a ymfflamiant, a swn y taranau,
A leinw ryw filoedd a dychryn a braw.

---

## JONAH YN Y DYMESTL.

Ah! gwelaf lawn arwydd fod dryghin yn nesu,
Ymgyfyd du gwmwl fel blaenor rhyw lu;
O frochus gymylau ddilynant yn llengcedd,
Gan dduo yr awyr mewn eiliad bob tu.

Y mellt a oleuant y bruddaidd ffurfafen,
A'u llewyrch a ddengys ddig wyneb y dòn;
Ymwylltiol ddilynant eu gilydd bob eiliad,
Nes gyru 'n wallgofiaid y morwyr o'r bron.

Ymrolia 'r cymylau yn llwythog o foroedd,
Y rhai a daranant nes crynu y byd;
Diangodd y gwyntoedd o'u cedyrn garcharau,
Gollyngant eu trymion ergydion yn nghyd.

Y môr o'i waelodion gynhyrfa 'n aruthrol,
A'i donau ymgyfyd nes diffodd y ser;
Ymruthra pob elfen mewn trefniant rhyfelgar,
Fel cadfeirch i ymladd rhyfeloedd eu Ner.

Wrth oleu y fellten, Ow! acw canfyddaf,
Y llong lle mae Jonah yn ffoi rhag ei Dduw;
Fe dorodd y rhaffau, a rhwygodd yr hwyliau,
A'r morwyr a lefant heb obaith cael byw.

Esgynant i'r nefoedd, disgynant i'r dyfnder,
Eu henaid gan flinder diorphwys a dawdd;
Doethineb a phrofiad a ballodd i'w hachub,
Cydlefant bob un ar ei dduw am ei nawdd.

Wrth archiad y cadben, i lawr ac i fyny,
Hwy redant eu hegni nes pallu o'u nerth;
Y môr a ymferwa, ewyna, a rhua,
A lluchia ei donau cynddeiriog yn gerth.

Mae Jonah 'n ystlysau y llong wedi 'mollwng,
Gan ingoedd ei enaid i gysgu yn drwm;

Yr echrys olygfa lwyr drechodd ei natur,
Diffoddodd ei obaith, mae 'i galon fel plwm

Y moryn mynyddfawr a luchia ei drymlwyth,
Yn erbyn y llestr wrth archiad yr Ior;
Gorch'myna Jehofah yn nghrochlef y daran,
Am fwrw 'i was Jonah i eigion y môr

---

## ADGYFODIAD MAB Y WRAIG WEDDW O NAIN.

Beth yw'r dorf a welaf heddyw 'n
Araf adael dinas Nain?
Gwisgoedd galar sydd am danynt,
Prudd a thrymaidd yw eu sain:
Wele unig fab gwraig weddw,
Gludir allan tua'r bedd;
Dacw hi, O! druan ydoedd,
Syn a gwelw yw ei gwedd.

Gwyr o'r blaen am gladdu 'i phriod,
Chwerwi, chwerwi mae ei chri;
Claddu heddyw 'i hunig fachgen,
Beth a ddaw o honi hi!
Teimla'r dorf, a wyla hithau,
Pruddo, pruddo mae ei gwedd
Os na ddaw rhyw gymorth buan,
Trenga'n wir cyn gwel'd ei fedd.

Hi obeithiai wrth ei fagu,
Cawsai ynddo ateg gref;
Wedi colli 'i dad gofalus,
Pwysai 'i hyder arno ef;
Hi ddysgwyliai am ei gymorth,
Yn ei gwasgfa'r olaf awr;
Trodd y cyfan iddi 'n siomiant,
Pallodd pobpeth ar y llawr.

Llaw a welaf ar yr elor,
Sefyll wna y dyrfa brudd;
Arwydd bywyd sy'n 'yr amdo,
Pryder orphwys ar bob grudd;
Dacw'r marw'n araf godi,
Ar orchymyn Dwyfol ddyn;

Marchog yn dy lawn awdurdod,
  Gad i'r gelyn deimlo'th rym.

*Birkenhead, Chwefror* 15, 1860.

---

## MADDEUOL RAS.

Seinier anthem pen Calfaria,
  Dros glogwyni Sinai 'i gyd;
Caner clychau aur maddeuant,
  Dros derfynau euog fyd;
O aed trwy heolydd pechod,
  At y dua a'r gwaetha'n fyw;
Clywed clust pob truan ffyddiog
  Am raslonrwydd calon Duw.

*Pittsburgh, Chwefror* 5, 1882.

---

## CYFARCHIADAU PRIODASOL.

---

Wrth iddynt 'hedeg dros y nyth,
  Gweddiau fyrdd o'u tu a chwyth.

---

Dan dyner aden Duw o hyd,
O boed eich taith hyd derfyn byd.

---

Dan wenu mae'r ser,
Gosgorddlu ein Ner,
Yn cyfarch yn ber,
  Y par a briodwyd,
"Lwc dda," medd y ser.

---

Myrdd o fendithion pena' Duw
Gorono'r ddau tra byddont byw.

---

Nadolig gofir gan y ddau,
  Fydd dydd rhoi modrwy serch;
Yn arwydd llawn o uniad tyn,
  Gwir galon mab a merch.

"Byd gwyn" i'r ddau fel eira'r fro,
A nefoedd byth eu cartre' fo.

---

Fe wenai huan Mai mewn swyn,
Ar fodrwy Mair, roes William fwyn.

---

Ni unwyd mwynach dau,
Erioed a chwlwm serch,
Adseinir clodydd da,
Y gwr, a'i anwyl ferch,
Trwy holl amgylchoedd Pittsburgh hen,
Gan bob rhyw iaith, a hyfryd wen.

---

Morganwg lon, a Theifi hardd,
A wnaed yn un, fel blodglwm gardd.

# AMRYWIAETHAU.

---

## CYMUNDEBAU Y FLWYDDYN.

*Ionawr.*

Dyma y cymundeb cyntaf o'r flwyddyn. Yr ydym yn dechreu gyrfa newydd yn ein bywyd crefyddol. Cychwynwn yn dda—wrth y groes.

Addunedwn heddyw i fod yn eiddo llwyrach i Iesu Grist. Ildio yr oll iddo. Rhoi ein hunain o newydd ar yr allor iddo. Dim rhanu â'r byd a'r cnawd mwy. Arwyddair Charles V. oedd "*Plus Ultra*"—yn bellach eto. Felly ninau eleni mewn sancteiddrwydd.

Y cymellydd cryfaf i fywyd duwiol yw cariad Crist. "Canys y mae cariad Crist yn ein cymell ni," meddai Paul. Nid elw bydol, nid mantais cymdeithasol, nid enwogrwydd llenyddol, oedd yn cario ei enaid trwy bob rhwystrau, ond "cariad Crist." Teimlai ei fod "*yn* cymell;" nid byw ar hen brofiad yr oedd Paul.

Pa Gristion goleuedig nad yw yn teimlo, fel Carlyle, yn gas ganddo am bob darlun o Grist? Nid aeth dynion i ddechreu gwneyd darluniau o Grist, nes yr oeddynt yn dechreu colli yr argraff o hono yn eu calonau. Y darlun goreu o hono ydyw y cymundeb.

Pa beth a wnawn eleni? "Rhodiaf o flaen yr Arglwydd yn nhir y rhai byw." Cadw mewn cymdeithas agos â Duw trwy fyfyrio ei air, gweddio arno, mynychu ei dy, a gwneyd ei waith.

Rhaid i'r Cristion, fel pob ymdeithydd, ddysgwyl

Y mae cariad at Grist fel ysbryd y peth byw yn olwynion Ezeciel. Pob peth yn myn'd heb flino.

Gocheler gwrthgiliad. Y mae yr ail ymosodiad gan y clefyd, yn waeth na'r cyntaf. "A safant?" meddai llu am y dychweledigion trwy Moody a Sankey. "Safant ond aros wrth y groes," meddai Spurgeon.

Dywedai boneddiges dduwiol wrth Satan, "Paid a dadlu a fi, dynes wan wyf fi. Crist yw fy nadleuydd, yr wyf wedi ymddiried y cwbl iddo am fy mywyd, dos ato ef." Aeth Satan ymaith.

*Mawrth.*

Achwynir gan lawer fod eu profiad yn oer. Beth a wneir? Dyfod yn nes at dân cariad Crist. Cafodd llawer eu hail dwymno mewn cymundeb gwresog.

Pa fodd y mae bod yn nerthol yn ein crefydd? Bod yn ofalus am bob rhan o honi. Ceir cadwen gadarn ond gofalu fod pob dolen yn gref.

Llw o ffyddlondeb i Grist yw y cymundeb. Ffyddlondeb gweision i feistr, ffyddlondeb deiliaid i frenin, ffyddlondeb milwyr i gadfridog.

Dywedir fod miliynau o *foreign capital* yn cael eu gwario yn y wlad hon bob blwyddyn. *Foreign capital* y nef sydd gan Seion i gyd i fyw arno.

Gwyddai Crist am y dyoddefiadau oedd o'i flaen, "Cyn dyoddef o honwyf." Teimlai swn yr ystorm yn dyfod. Gwelai y *breakers* ar y *bar*. Tonau arswydus.

"Trwy yr hwn y derbyniasom y cymod"—cyd-fod, heddwch, dyfod i'r un meddwl. "Trwy yr hwn"—ni ddaethem byth i'r tir yma ond trwy Iesu Grist. Y mae yn ffynonell cysur mawr. "Gorfoleddu yr ydym

yn Nuw trwy ein Harglwydd Iesu Grist"—ein calonau fel clychau heddwch yn seinio yn braf.

"A ninau wedi meirw i bechod, pa wedd y byddwn byw ynddo ef?" Wedi i ddyn farw a chael ei gladdu, mor rhyfedd fyddai clywed ei fod gyda ei hen waith! Felly dynwedi marw i bechod yn byw ynddo ef!

Aeth Prydain i gostau mawr i anfon ar ol Syr John Franklin i'r terfynau Gogleddol, ond y mae Iesu wedi gwneyd mwy i fyned ar ol pechadur i foroedd rhewllyd pechod.

"Gwr gofidus a chynefin â dolur." Fe welwn ol ei droed ar bob llwybr gofidus, fe glywn ei swn yn mhob ystafell galar.

*Ebrill.*

"Crist ein pasg ni." Yr oedd oen y pasg yn ddarlun o Grist yn ei gymeriad diniwed a difrycheulyd; ac o'i dawelwch yn ei ddyoddefiadau; ac o'r fendith a geir drwyddo—llamir dros ein pechodau; ac hefyd o'r defnydd a ddylid wneyd o hono—gwledda arno trwy ffydd.

"Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn ein lle."

Cofiwn mai dyoddef drosom ni yr oedd Iesu Grist. "Efe a archollwyd am ein camweddau ni"—yr oedd ein camweddau fel cleddyfau yn gwanu i'w galon. "Efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni"—cafodd ei ddryllio yn fewnol ac allanol. "Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef"—baich y gosp i gyd arno ef. "A thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni"—yr oedd ol y fflangellu, yr hoelio, a'r trywanu ar ei gorph anwyl ef; a buasem yn glaf hyd angeu, oni b'ai yr iachâd a gaed o'i loesau ef.

Methai merch wyllt ag edrych ar ddarlun o'i mam heb wylo, a phenderfynu newid ei llwybrau. Pwy all edrych ar ddarlun o Grist ar y groes heddyw heb benderfynu peidio pechu mwy?

Y mae Iesu yn adnabod ein natur. Nid dyeithr ddyn ydyw i ni. Trigodd nid yn unig yn ein plith, ond tabernaclodd yn ein natur.

Nid oes yr un offeryn mwyneiddiach na thelyn, yn enwedig gan y Cymro, ond offeryn hawdd iawn ei ddyrysu a'i yru o hwyl ydyw. Felly teimlad y Cristion yn y byd hwn.

"Ond boed fy nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr wyl."

Rhoddodd edmygwyr Siarl Fawr ef yn y bedd gyda choron ar ei ben, a theyrnwialen yn ei law. Ofer i gyd—brenin marw ydoedd. Y mae Iesu yn fyw.

*Mai.*

Y mae natur yn dangos ei hun y dyddiau hyn. Y gwreiddiau heb farw yn y gauaf. Faint o'n crefydd ni sydd yn dod i'r golwg? Ceir awel hyfryd heddyw.

"Awel o Galfaria fryn."

Y mae rhyw lu ar y môr mawr heddyw. Faint o honom ni sydd wedi ymwthio i'r dwfn yn ein crefydd? Ceir llawer mewn llongau bach heb byth fyned fawr o olwg y tir. Gadewch i ni fyned gyda *liners* mawr addewidion Duw i fôr yr iachawdwriaeth y dyddiau hyn.

Arwyddair ardderchog oedd gan Dr. Livingstone ar ei *birthday*—"Fy Iesu, fy Mrenin, fy Mywyd, fy Nghwbl oll."

"Ni a ewyllysiem weled yr Iesu"—yr oedd y Groeg-

iad a'u holl fryd am weled yr Iesu. Ei weled mor agos nes cael ymddyddan ag ef, a'i adnabod. Dyma eu cais penaf ar yr wyl. Pwy sydd am gael ei weled ef felly heddyw?

"Eithr chwychwi ydych gorph Crist"—i gynwys ei ysbryd, i ddangos ei feddwl, ac i ddwyn yn mlaen ei waith.

Dywedai un y buasai yn well ganddo gael hen gochl Paul, a'r gras oedd yn ei galon, na holl wisgoedd gwych breninoedd y ddaear, a'u teyrnasoedd gyda hyny.

Byd y plant yw hwn yn ngolwg tragywyddoldeb—plant Duw, a phlant diafol. Pwy ydym ni? Peth arswydus i neb o honom ni fod yn blant diafol. A oes genym le i gredu ein bod yn blant Duw?

"Pan gwelwyf f' enw'n mysg y plant,
Mi ganaf glod ag uchel dant."

"Carcharor cariad Iesu Grist wyf fi," meddai hen Gristion oedd wedi llwyr ymroddi iddo.

Yr oedd yn arferiad yn Groeg i adael i fab a fyddai yn etifedd, i fabwysiadu y neb a fynai o gaethion ei dad. Gall Mab Duw fabwysiadu y neb a fyno i fod yn gydetifeddion ag ef.

*Mehefin.*

Ymwisga natur yn ei holl ogoniant heddyw. "Seion, gwisg wisgoedd dy ogoniant."

Cariai merch fach swp o flodau o'r naill ystafell i'r llall nes yr oedd y ty yn perarogli. A ydym ni yn berarogl Crist yn y cymundeb heddyw?

Y mae yno ddyffryn yn Java a elwir y *poisonous valley*. Pwy bynag ä yno, boed aderyn, anifail, neu ddyn, bydd farw yn union. Ond y mae ein byd ni yn

*poisonous world*, ac eto y mae Iesu Grist yn galln gwaredu hyd yr eithaf o bob man o hono.

Nid gweled y darlun o hen gyfaill sydd yn creu cydnabyddiaeth ag ef, ond y mae gweled y darlun yn adddeffro ac yn adfywio y cofion am dano. Felly y mae y cymundeb heddyw yn dwyn yr Iesu i'n cof. "Gwnewch hyn er coffa am danaf."

Rhaid i ni fod wedi ein hail eni cyn y gwna yr ordinhad yma les i ni. Ni roddir *nourishment* i neb wedi marw, ond rhoddir i rai gweiniaid a nychlyd. Rhaid i ni fod yn fyw, ond gallwn fod yn wan a chael budd mawr.

Dywed Plutarch am y Molossians, pan y byddai arnynt eisiau ffafr gan eu Tywysog, y cymerent ei fab yn eu breichiau, gan blygu wrth ei draed, a dadleu eu hachos. Bydded i ninau fyned a Iesu Grist, Mab Duw, yn mreichiau ein ffydd ato heddyw.

"A chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau"—paraf i chwi orphwys, ymdawelu, ac ymhoewi.

Dyma wledd gymdeithasol. Nid cymuno wrthym ein hunain, ond gyda ein gilydd. Darlun o gymdeithas bur a thragywyddol y nef.

*Gorphenaf.*

"Duw, cariad yw." Efe a garodd gyntaf er tragywyddoldeb; efe a garodd fwyaf—rhoi ei unig-anedig Fab; ac efe a garodd lwyraf—hyd y diwedd.

Y ffordd i ni gynyddu yn ein crefydd yw yr un fath a'r coed ffrwythlon yn tyfu—o'r gwreiddyn i fyny.

"Fe ddaeth yr Athraw, ac y mae yn galw am danat." Hawdd colli yr *un* yn y lluaws. Iesu yn sylwi ac yn galw am yr unigol—"am danat" ti.

Fe grynai Luther wrth edrych ar y gyfraith, nes y gwelodd yr athrawiaeth o gyfiawnhad pechadur trwy ffydd.

Dywedid am ryw un, nad oedd ganddo ond cyfoeth deiliad cyffredin, ond fod ganddo galon brenin. Y mae gan Iesu ddigon i roi—y mae ganddo gyfoeth brenin, a chalon brenin.

Mewn llong-ddrylliad syrthiodd llu i'r môr, ac nid oedd ond un cwch ar eu cyfer. Gwaeddent, "Dacw un cwch, gadewch i ni oll nofio ato." Ond wedi myned, nid oedd yno ddigon o le i'w haner. Dyma siomiant! Ond y mae Iesu yn Waredwr digonol i bawb.

"Un Iesu croeshoeliedig,
Sydd ddigon i'r holl fyd."

Ofer beio ar y meddyg os na ddilynir ei gyfarwyddiadau. Rhaid ufuddhau i Grist cyn y ceir budd oddiwrtho.

Teimla plentyn tlawd foddhad mawr os bydd boneddwr o urddas yn ymserchu ynddo. Dyma Un goruwch y tywysogaethau angylaidd a cherubiaidd yn ein caru ni drueiniaid y ddaear!

Pan yn dringo i fyny ryw risiau uchel a serth, bron diffygio, gwelwn sedd wag, ac arni, "*Rest, and be thankful.*" Y mae pererinion Seion wedi blino yn dringo y rhiwiau serth, ond y mae ar fainc y cymundeb heddyw, "Gorphwys, a bydd ddiolchgar."

*Awst.*

Y mae miloedd ar filoedd ar lanau y môr heddyw, yn yfed o'i awelon iachus, ac yn edrych ar ei ddyfroedd mawrion. Metha llawer fyned at y môr hwnw, ond y maent ar lan môr cariad Duw.

"Mae'r iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan."

"Fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi." Llawer gwaith y bum yn New Brighton, ger Liverpool, yn yfed o ffynon o ddwfr croew ar y traeth. Deuai y llanw drosti a chollai ei chroewder am dymor, ond wedi i'r llanw droi, ceid y ffynon fach yn ei blas ei hun. Gall y byd gythryblu tipyn ar fynwes y Cristion, ond tangnefedd ydyw yr anian sydd ynddi.

Rhaid i ni beidio cellwair â hen bechodau. Clywais i amryw ar ol i'r rhyfel fyned drosodd yn Ffrainc, godi i fyny hen belenau Germany, a'r rhai hyny yn ymffrwydro ac yn eu rhwygo hwynt.

"Codwch ymaith y maen," meddai Iesu Grist wrth y rhai oeddynt oddeutu bedd Lazarus. Ni allai y marw, ni wnai yr Iesu, ond gallent hwy wneyd. Rhaid i ninau symud meini anghrediniaeth, oerfelgarwch, a difaterwch.

"Mi fum inau wrth y bwrdd," meddai hen wrthgiliwr, "ond y mae pum'-mlynedd-ar-hugain er hyny, ni feddyliais fod ddeufis i ffwrdd!" Faint sydd er pan a bu rhai o honoch wrth y bwrdd?

"A wyt ti yn caru Iesu?" meddai gweinidog wrth fachgen wyth mlwydd oed? A dyna dân cariad yn cael ei gyneu yn ei galon nad aeth allan am dros ddeugain mlynedd yn awyr oer y ddaear yma.

Edrychwn ar yr haul braf heddyw, a dywedwn, "Dyna y *chief mourner* ar farwolaeth fy Ngheidwad."

## *Medi.*

Gwinllan yn nghanol anialwch yw Sabboth Cymundeb i lawer credadyn. "A mi a roddaf iddi ei gwin-

llanoedd o'r fau hono." Mor hyfryd gan lawer droi i winllan Duw heddyw oddiwrth ddrain, a mieri, a phyllau, a dreigiau blinderau y byd.

Gwelais ffrwythau y Talaethau a'r Tiriogaethau Gorllewinol yn yr Arddangosfa Ganmlwyddol yn Philadelphia, a chlywais aml un yn dyweyd yr aent i'r gwledydd hyny wrth eu gweled. Y mae ffrwythau y nef yn cael eu dangos heddyw gan y saint. A oes awydd ynom am fyned yno?

Yn y *Soldiers' Convention* gwelais lawer baner, ond yr un oedd wedi ei rhidyllu wrth ymladd a'r gelyn, hono oedd yn tynu sylw pawb. Bydded i ni ddangos dewrder yn ein crefydd. Y rhai hyn a enillant barch.

Dywedai yr hen fam, Mrs. Rees, pan yn 80 mlwydd oed, iddi ddysgu y penill canlynol pan y derbyniwyd hi yn aelod yn Crugybar:

"P'odd 'r edrychaf ar fy mhechod,
Heb alaru wrth ei draed?
'Mhechod i a fu yr achos,
Iddo golli 'i anwyl waed."

"Ni fyddai byth yn blino yn ngwasanaeth Iesu Grist," dyna a ddywedwyd am Lowell Mason, un o gerddorion penaf America, wedi bod dros driugain mlynedd gyda chrefydd.

Hen wr saith-a-phedwar-ugain oed wedi anghofio agos bob peth, ond gofynwyd iddo, "A ydych yn cofio Calfaria?" "Ydwyf," meddai, "Calfaria, y gwaed, ac Iesu Grist;" ac yna gwaeddai,

"Y gwaed, y gwaed,"
"Calfaria nid anghofir
Tra cofir ol y gwaed."

*Hydref.*

Dychwela llawer yn ol adref o grwydriadau pell y dyddiau hyn. "Dychwel fy enaid i'th orphwysfa." Crwydra yr Americaniaid dros y byd. Ond crwydra yr enaid fwy na dim. Gorphwys heddyw wrth y groes.

Crist yw sylwedd yr ordinhadau. Arwyddion o'r aberth yw y bara a'r gwin. Crist ei hun yw y gwir aberth. Mor bell ag y cyfranogwn o Grist trwy ffydd, y byddwn yn sylweddoli yr ordinhadau.

Clywais yr eos yn canu yn beraidd un noson yn Suffolk, ac O! ganwr bendigedig ydoedd. Nid anghofiaf byth ei gân. Ond y mae rhyw rai o honom wedi clywed gobaith yn canu yn bereiddiach na hyny ar nosweithiau fel y fagddu.

"Ffydd yn gweithio trwy gariad"—cariad sydd yn rhoi bywyd i ffydd. Cariad yw y corph byw, ffydd a gobaith yw y ddwy aden hwylus sydd gan gariad.

Y mae tân y *prairies* yna yn arswydus, teithia o ddeg-ar-hugain, i ddeugain milldir yr awr. Gwel y cyfarwydd ef yn dod a llosga lanerch o'i gylch. Dim perygl. Y mae tân digofaint Duw yn dyfod—dim perygl yn Nghalfaria. Y mae tân cyfiawnder wedi llosgi pob peth o gylch yno.

Y mae ail groeshoelio Crist yn fwy erchyll na'r cyntaf. Gwnaed hyny y tro cyntaf o dan gynhyrfiad rhagfarn crefyddol yr oes, a gwleidyddiaeth lygredig yr oes, a'r bloeddio ar y pryd; ond ail groeshoelir ef mewn pwyll, a dyfalbarhad mewn pechod. O! fy nghalon, a wyt ti yn gwneyd hyn? Holwn ein hunain yn onest a manwl.

Unwaith y bum' yn siarad trwy y *telephone*—cyr-

haeddai fy llais at foneddwr wyth-milldir-ar-hugain, a deuai ei lais yntau yn ol mewn eiliad. Y mae gweddi y *spiritual telephone* ar hyd gwyfr haeddiant Iesu Grist yn gyflymach na hyny. Cyrhaedda at orsedd Duw.

Gwnaeth un darian, a rhoddodd ei enw arni yn y fath fodd fel na ellid tynu ei enw heb ddifetha y darian. Felly y mae enw Iesu Grist ar y drefn gyfryngol—tyner Crist ymaith, a dyrysa y cwbl.

*Tachwedd.*

Y mae y dydd yn fyr, a'r nos yn faith, ond gall y credadyn ddyweyd,

"Haul f' enaid i wyt, Iesu cu,
Ymlidia 'th wedd y noson ddu."

Hen enw ar y cymundeb oedd *eucharist*—diolchgarwch. Torodd llawer i ddiolch wrth gofio Iawn Calfaria.

Y mae telynau Seion yn llaw y pererinion heddyw. Beth fydd testyn y dôn? Clywaf ryw un yn ateb,

"Mi ganaf fi tra byddwyf byw
Am rinwedd gwaed yr Oen."

Hen wr yn Nghymru yn dod adref i'r cymundeb ar noson dywell a llithrig iawn, "A ddaethoch chwi?" meddai yr hen wraig oedd yn methu gadael y gongl? "Do," meddai, "a ffon yn un llaw, a llusern yn y llaw arall, a chariad Crist yn fy nghalon—a dyma fel yr wyf yn myned tua'r nefoedd hefyd."

Calfaria o hyd yw canolbwynt Cristionogaeth. Y mae canolbwynt poblogaeth America yn newid bob deng mlynedd. Bernir y bydd yn mhen rhyw ddau neu dri cofrifiad eto wedi cyrhaedd o Indianapolis i lan-

au y Mississippi. Ond Calfaria fydd canolbwynt ein crefydd ni mewn myrddiynau o flynyddoedd eto.

Rhaid i ni grefydda wrth amser y nefoedd. Pan yn Oneida un tro aethum gyda y Brawd Davies, o Waterville, i weled y *surveyors* oeddynt yn mapio y wlad o newydd. Ac yn mysg pethau eraill yr oedd ganddynt awrlais wrth amser yr haul a'r ser. Nis gallasent wneyd eu mesuriadau yn gywir heb hwn. Nid wrth glociau y ddaear yr ydym ni i grefydda, ond wrth un y nef, sef y Beibl.

"Ac yr oedd hi weithian yn dywyll, a'r Iesu ni ddaethai atynt hwy." Yr oeddynt yn teimlo yn unig, mewn perygl, yn ofnus, ac mewn awydd mawr i'w weled. A ydyw yn nos ar rai o honom ni? Tywyna Haul Cyfiawnder yn y nos fel y dydd.

*Rhagfyr.*

Dyma y cymundeb olaf wedi dod! Mor gynted y daeth. Y cymundebau fel afonydd yn llifo yn mlaen o hyd—cyrhaeddant y môr tragywyddol yn fuan.

Cofiwn heddyw am ein colliadau. Awn a hwynt at y Maddeuwr i swyddfa Calfaria. Y mae y drws yn agored yn awr, ac y mae yn dysgwyl am danom.

Gadewch i ni orphen a phethau drwg a phoenus y flwyddyn hon, gael i ni fyn'd rhagom yn fwy egniol yn ein crefydd, os cawn fyw i weled blwyddyn arall.

"Mi dafla 'maich i lawr yn llwyr,
Wrth gofio angeu loes"

Fe fydd cymundebau da yn *gapital* i ni erbyn cystudd a henaint. Gadewch i ni gasglu tipyn heddyw.

Y mae rhyw rai yma wedi cael cwmni Iesu ar hyd y flwyddyn, a gallant ddyweyd yn hyderus fel yr hybarch Cadwaladr Jones, Dolgellau,

"Gyda chyfaill gwell na brawd,?
Mewn caledi,
Llawenhâ fy enaid tlawd,
Yn ei gwmni."

"A gwaed Iesu Grist, ei Fab ef, sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod." Dyma eiriau y diweddar Dr. Christopher Cushing, o Loegr Newydd, mewn cystudd trwm. "Dyna y gwirionedd, ac yn iaith Duw ei hun," meddai wrth Dr. Hoyt. "Y mae yn felus. Ac y mae yn werthfawr fel y mae."

Ni flinir byth son am farw Calfaria. Dyna fydd prif destyn moliant a myfyrdod y nef,

"Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud,
Yn dod o hyd i'r goleu."

---

## WRTH FEDDAU ENWOGION.

*Beddau Bunhill Fields, a Mynwent Capel City Road, Llundain.*—Yn ymyl un o heolydd bywiog a thrystiog Llundain y mae un o'r manau mwyaf cysegredig gan Brotestaniaid y byd. Agorwyd y lle gyntaf yn amser pla mawr Llundain, yn 1665. Daeth wedi hyn i feddiant yr Ymneillduwyr a wrthwynebent wasanaeth claddu Eglwys Loegr, ac y mae yn cynwys beddau rhai o'u prif enwogion. Meddyliais wrth fyned i mewn am rai llinellau yn nghân dyner y Parch. B. Price (Cymro Bach).

"I *Bunhill Fields* ryw hafddydd teg,
Yr aethum ar fy hynt;
A rhodiais yno ar lwch rhyw lu,
O deulu 'r amser gynt," &c.

Yma yr huna, er 1679, Dr. Thomas Goodwin, yr hwn oedd gyda Oliver Cromwell pan y bu farw; yma hef-

yd y gorwedda y cawr duwinyddol o waedoliaeth Gymreig, Dr. John Owen, er 1683; dilynwyd ef i'r gladdfa gan saith-a-thriugain o gerbydau pendefigion a boneddigion a'u hedmygent, heblaw llu o alar-gerbydau, ac amryw ar geffylau; yn agos ato ceir cistfaen John Bunyan, er 1688, awdwr y llyfr sydd yn dilyn y Beibl yn gyflym i wahanol ieithoedd y byd—"Taith y Pererin;" cawn yma hefyd orweddfa dawel Dr. Watts, er 1748—dyma emynŵr melusaf y Saeson, os nad yr holl eglwys Gristionogol; gallaswn gyfeirio at feddau George Fox, er 1690, sylfaenydd y Cwaceriaid; a Daniel Defoe, er 1731, awdwr "Robinson Crusoe;" a llu o enwogion eraill a wnaethant eu hol ar y byd, ond nis gallaf fyned dros ragor yn awr. Claddwydyn y lle bychan hwn o 1713 i 1832 ddim llai na 107,416 o bersonau. Dros y ffordd, wrth hen gapel City Road, y gorwedda y Parch. John Wesley, sylfaenydd y Methodistiaid Wesleyaidd. Cariodd "y nefol dân" dros Brydain, a rhanau helaeth o'r America. Disgynodd i'r bedd fel tywysen addfed, yn wyth-a-phedwar-ugain oed. Teimlwn wrth ddyfod oddiwrth feddau y rhai hyn awydd i fyw yn fwy cysegredig i Dduw, er mwyn cyrhaedd i'r un baradwys a hwythau.

*Bedd John Elias.*—Yr oedd awydd cryf ynwyf pan yn fyfyriwr ieuanc ugain oed, i gael gweled bedd y seraph enwog hwn a roddodd Duw i Gymru. Aethum o dy fy mrawd William, yn Beaumaris, ryw foreu i Llanfaes, lle y gorwedda ei weddillion. Gwnaethum ychydig linellau cyn gadael y lle, nad wyf yn awr yn cofio ond un o honynt:

"Yn fud mae y tafod roi dân trwy y siroedd."

Bum yno droion wed'yn. Un o'r troion olaf oedd

gyda y llenor enwog Cromwell o Beaumaris, a synem ei fod wedi marw cyn myned agos mor hen ag y meddyliem. Tybiem cyn ail edrych ar y gofgolofn, ei fod yn agos i'r pedwar-ugain, ond gwelem iddo farw Mehefin yr 8fed, (hen adeg Sasiwn y Bala), 1841, yn 67 mlwydd oed. Wrth ei fedd yr oedd yn fyw i mi yn codi ei fys a'i olwg tua'r nef, na welais neb yn gallu gwneyd yr un fath. Er nad oeddwn ond plentyn bach pan ei gwelais, cofiâf hyny byth.

*Bedd y Parch. D. Price (Dewi Dinorwig).*—Dyma fi yn nghladdfa eang a hardd Milwaukee, Wis. Gadawyd fi wrthyf fy hun am enyd, yn ymyl bedd un o'r pregethwyr hoffusaf genyf yn y byd pan yn llencyn. Ni cheisiaf ddarlunio fy nheimlad—cofio ei ergydion ffraeth, cofio ei wên ddifalais, cofio ei fraich chwareuai fel tarian, cofio ei wyneb llawen a graenus, cofio ei chwys perlog, a'i dôn glochaidd, cofio hyn a chofio arall; yn wir, nid rhyfedd i'r awel gario fy ochenaid, a'r briddell dderbyn fy nagrau.

*Bedd Risiart Ddu o Wynedd.*—Myned i fynwent Rosendale, Wis., lle y gorwedda. Cofio am ei gwmniaeth ddyddorol yn Ninbych a'r Bala. Dyma ei fedd a'i gofgolofn—man dymunol i gysgu hyd ganiad yr udgorn. Dyma fardd, llenor, a phregethwr, na chafodd gorph digon cryf i gario ei athrylith a'i yni. Beth pe buasai fyw i'm derbyn? Nid oes dystawrwydd fel dystawrwydd y bedd.

Bu farw ar yr wythfed o Fawrth, 1870. Yr oedd yn ddyn ieuanc o dalentau dysglaer, a chymeriad gloew. Esgynodd i binacl uchaf llenyddiaeth ein cenedl pan yr enillodd gadair farddol yn Eisteddfod Llandudno, 1864. Dysgwylid pethau mawr ganddo pe y cawsai

fyw, fel llenor, bardd, pregethwr, a Christion. Yr oedd yn meddu mwynder merch, treiddgarwch dyn, a choethder angel. Codwyd ef i athrofa uchaf Duw yn y Jerusalem newydd.

*Bedd y Parch. J. Parry, Gomer O.*—Gelwid ef yn Nghymru yn "Parry Machynlleth," neu "Parry y Wern." Yr oedd agos yn gyfoed a'm diweddar frawd y Parch. W. Thomas, Beaumaris; a'r anwyl gofus y Parch. R. Jones, Rhuthyn. Ganwyd ef mewn ffermdy bychan o'r enw Penycefn, yn mhlwyf Llanfor, yn ymyl y Bala. Yr wyf yn ei gofio yn dda yn rhoi ei law ar fy mhen, yn hogyn bach, ac yn gofyn i mi yn bwysleisiol iawn, dan siarad ychydig trwy ei drwyn, "Ai bachgen John (Methodist), neu fachgen William (Annibynwr) wyt ti? Wel dyna i ti ddwy geiniog ni chawset ti yr un ddime weli di pe buaset ti yn dweyd mai bachgen John oeddet ti." Wedi ymgylymu wrtho ddyddiau fy mebyd, nid oedd ond trafferth fach yn fy ngolwg fyned dros *rails* y gladdfa, ac hyd fy haner yn yr eira, at ei fedd ef. Y mae yno feddfaen ysblenydd ar ei orweddfa. Gorwedda yma yn dawel er Medi, 1863. Rhyfedd mor wahanol yw y marw i'r byw! Beth pe buasai yn fyw ar fy ymweliad â Gomer? Buasem ein dau wedi cael ymgom ddifyr am yr Hen Wlad. Mud yw pob tafod sydd yn y bedd.

*Bedd Mr. George Owens, Liverpool.*— Gorwedda gweddillion Mr. Owens yn Cemetery Smithdown-lane, Liverpool. Wedi ymrodio yn mysg beddau llu a adwaenwn yn y gladdfa hono, ac a garwn o waelod calon, yn niwedd haf 1877, dywedwn yn ddystaw wrthyf fy hun pan y safwn gyferbyn a'i fedd ef—"Dyma fedd diacon da." Bu yn flaenor i'r eglwys, yn gyn-

orthwy i'w weinidog, ac yn was i Grist. Aeth ei glod dros derfynau ei eglwys a'i enwad. Yr oedd fel ambell i lwyn mewn gardd yn perarogli y fro. Dewiswyd ef yn ddiacon pan oddeutu ugain oed, a pharhaodd ynddi dros ddeugain mlynedd. Pe y buasai yn aelod o'r "fam eglwys yn Jerusalem," yr wyf yn credu y cawsai ei ddewis yn un o'r "seithwyr da eu gair," a neillduwyd i'r ddiaconiaeth ynddi. Yr oedd "*yn llawn* o'r Ysbryd Glan a doethineb,"ac "*yn llawn* o ffydd." Tynai eraill i gyfranu trwy rym ei haelioni ei hun. Yr oedd yn holl gyrddau yr eglwys, a'i fryd ar holl gysur a llwydd yr eglwys. Nid oedd na gerwinder hin, na phellder ffordd, na mawredd llafur y dydd, a'i cadwai o foddion gras. Gweithiodd yn galed gyda hyfrydwch didor yn y gwaith, aeth at ei wobr, a hono yn un o wobrau uchaf gras i'r "diacon da."

*Bedd Williams o'r Wern.*—Gorwedda ef wrth ymyl hen gapel y Wern. Dwywaith erioed y mae genyf gof am dano. Y tro cyntaf yn dod dros bont y Bala oddiwrth Llanfawr ar g fn ei geffyl, a John fy mrawd yn ysgwyd llaw ag ef, ac yn ei ddangos i mi. Ni fuasai gweled brenin yn ddim genyf wrth ei weled. Mi dybiaf mai yn y Gymanfa hono y pregethai ei bregeth hynod ar "Etholedigaeth yn ei gwaith," oddiar Rhuf. 11 : 7, "Eithr yr etholedigaeth a'i cafodd." Modd bynag yr wyf yn cofio y byddwn yn dyweyd y gair "ciafodd," yn ol ei barabliad ef, nes cael fy ngheryddu gan y teulu, ond nid oedd waeth heb, yr oeddwn wedi credu yn ddwfn fod rhyw hyawdledd seraphaidd yn y gair "ciafodd." Pethau fel hyn oedd yn adgyfodi i'm meddwl wrth ei fedd. A'r hen destyn arall a glywais ganddo, "Geiriau Lemuel frenin ; y brophwydoliaeth

a ddysgodd ei fam iddo." Yr oedd ganddo ddull perthynol iddo ei hun i swnio mam—"ei fa-am." Torwyd yntau i lawr yn llawer cynarach na John Elias, sef ar y 17eg o Fawrth, 1840, yn 59 mlwydd oed. Ychydig amser cyn dod i'r wlad yma safwn wrth ei fedd gyda y diweddar Dr. Thompson, New York; yr hybarch Morris Roberts, a'i gydymaith y Parch E. Davies, Waterville. Ond yn 1877 y buom ar y llecyn cysegredig y tro olaf. Gorweddai yr hynod Ishmael Jones, un o bregethwyr gwreiddiolaf ein cenedl, yn yr un gladdfa y pryd hwnw. Pe yr elwn i ryw le i'r cyffiniau, ni flinwn fyned eto i hen gladdfa capel y Wern.

*Beddau Mynwentydd Llanfawr a Llanycil, ger y Bala.*—Myned heibio yr ysgol ddyddiol yn Llanfawr y bum ynddi gyntaf erioed. Yr eglwys yn newydd, ac yn llawer llai na'r hen. Myned yn syth at fedd fy nhad a mam. Teimlo yn rhyfedd iawn. Dyma fedd dystaw, dystaw. Hiraeth llosgedig. Aml ddeigryn yn disgyn. Ffarwel. Yn ymyl bedd fy ewythr Evan Evans, Gwynfynydd, brawd fy mam, yr hwn a fu farw Gorphenaf 26, 1874, yn 85 mlwydd oed. Dyma fedd hen filwr gwrol, "Jack Llwyd," a fu mewn saith-ar-hugain o frwydrau, a Waterloo oedd y ddiweddaf. Cafodd fyw flynyddoedd yn y Bala ar ol myned drwyddynt. Myned heibio bedd rhieni Dewi Glan Peryddon, sydd yn gorwedd yn naear Wisconsin. Sefyll ychydig wrth fedd yr hybarch H. Lloyd, periglor y plwyf pan oeddwn yn hogyn, yr hwn a ddywedai yn ddigon diniwed, heb bwyso ei eiriau, wrth Charles y clochydd—"Charles, cofiwch mai fan yma y myna'i gael fy nghladdu os byddai byw ac iach." Dyma fedd

Charles y clochydd hefyd, yr hwn a gyrhaeddodd yr oedran mawr o 94 mlwydd oed. Dywedir mai fan acw y mae Llywarch Hen yn gorwedd, un o deulu breninol o du ei dad a'i fam, (merch Brychan Brycheiniog oedd ei fam). Yr oedd yn llenor a bardd godidog. Bu farw oddeutu canol y seithfed ganrif, dros 150 mlwydd oed.

Myned yn syth yn mynwent Llanycil at fedd fy nghyfaill, fy nghyd-lenor, a'm carenydd, Proff. Peter (Ioan Pedr). Dyma chwithdod ei gael yn y briddell! Dyn cryf, cadarn, a llawer mwy tebyg o fyw na mi, yn 1869, pan ei gwelais ef olaf. Heddyw, yn niwedd haf 1877, heb law yn estyn i'm cyfarch, na gair yn dod oddiwrtho i'm croesawu. Dyma waith angeu. Tori cangen o'r goeden ywen a gysgodai ei fedd, a thrwy yr hon y tywalltai cymylau gwlybion Penllyn ddagrau arno. Dyma fardd a llenor da, ysgolhaig Celtaidd o'r rhes flaenaf, athraw medrus, myfyriwr diwyd, a dyn duwiol. Codwyd ef yn gynarol i Brifysgol y nef. Wrth ei ymyl y gorwedda Dr. John Parry, un o athrawon Coleg y Trefnyddion Calfinaidd. Llosgodd ei fegin gan dân gorlafur. Gadawodd un o'r etifeddiaethau llenyddol gwerthfawrocaf i'n cenedl, sef "Y Gwyddoniadur," i'r hwn yr oedd yn olygydd, ac efe oedd awdwr y rhan fwyaf o'r ysgrifau galluocaf ynddo. Nis gallaf beidio galw heibio bedd "Charles o'r Bala," sydd gerllaw; a bedd y Parch Simon Llwyd, esboniwr Llyfr y Datguddiad; a bedd John Evans, un o'r Methodistiaid cyntaf yn y Bala; a bedd Enoch Evans, ei wyr, yr hwn oedd y darllenwr Beiblaidd goreu a glywais erioed; a bedd John Page (Ioan Dyfrdwy), fy nghyfoed a'm cyfaill, orphenodd ei yrfa pan oddeutu

ngain oed; yn nghyd a bedd Tegidon, awdwr "Tlws Arian;" ac amryw eraill na chaf nodi. Darllen cyn troi allan ar un o geryg yr hen eglwys, wedi ei gerfio er 1674, yr arwyddair cynwysfawr. "Hwy y pery clod na hoedl." Dyma waith rhyw Gymro dros gan' mlynedd cyn annibyniaeth America.

*Beddau Llanuwchllyn.*—Wrth yr "Hen Gapel," fel ei gelwid gynt, ond sydd yn newydd a hardd iawn erbyn hyn, y gorwedda fy hen athraw godidog yr hybarch Michael Jones, y bum o dan ei addysg yn yr oll dros wyth mlynedd. Dyn cadarn mewn corph a meddwl. Meddyliwr o ysgol Paul. Duwinydd tynwyddol (*inductive*) gyda y blaenaf yn ei oes—tynodd rai gwirioneddau na chafodd neb arall hwynt o adnodau. Credai yr hyn a gredai a'i holl galon. Amddiffynai yr hyn a gredai yn wirionedd yn hollol ddigryn, pe y bygythid rhwygo y ddaear o dan ei draed, ei beltio â'r creigiau, a hyrddio y mynyddoedd ar ei ben. Os ganwyd ef i flinder, ni anwyd mo hono i blygu ond i'r gwirionedd. Cafodd gryn ystormydd, ond daeth yn hindda hyfryd arno cyn diwedd ei oes am flynyddoedd. Cymerodd drafferth fawr gyda phregethwyr ieuainc Cymru, ac nid oes neb o dan fwy o rwymau iddo na myfi. Os anghofiaf ef, anghofied fy llaw ysgrifenu. Yr wyf yn dra annhebyg iddo, ond nid wyf wedi gweled dim eto i'm tywys oddiwrth ei barchu am ei dalent, ei ddefnyddioldeb, a'i dduwioldeb. Cyfeiriwyd fi at fedd mam fy anwyl briod yn agos ato, ac er nad oeddwn yn ei chofio, edrychwn gyda thynerwch ar ei bedd, er mwyn ei "Lizzie" a fagodd i fod yn wraig dda i mi. Myned i fynwent eglwys y Llan, canfod yno orweddfa Simon Jones, yr hwn oedd yn hynod fel areithiwr dir-

west, diwygiwr gwladol, a phwywr didor gohebwyr hoff o gofnodi enwau yn eu hysgrifau. Yn agos ato yr hunai gwraig Ap Vychan, ac erbyn hyn y mae y cawr ganddo yntau wedi ei gwympo gan angeu.

*Bedd Christmas Evans.*—Rywbryd o 1860 i 1863, wedi bod yn gwrando Spurgeon yn yr awyr agored, ac yn nghapel Bethesda, Abertawe, y cefais fyned gyntaf at fedd y pregethwr eryraidd Christmas Evans. Yr oeddwn yn gwybod am dano trwy y cyhoeddiad misol "Athraw i Blentyn," gymerais gyntaf erioed, yr hwn a gyhoeddid gan y Bedyddwyr yn Llangollen. Bum yn aros flynyddoedd yn Brynmawr, Mynwy, gyda theulu Mr. William Williams, lle y deuai llu o bregethwyr y Bedyddwyr, ac yn eu mysg y Parch. Benjamin Price (Cymro Bach), yr hwn a adroddai yn ddoniol un prydnawn Sabboth bregeth Christmas Evans ar "Weledigaeth yr Esgyrn Sychion." Teimlwn y pryd hwnw, a theimlwn fwy fyth wrth ei fedd, y buasai yn well genyf na dim arian pe y cawswn olwg arno pan yn fyw. Unwaith erioed y bu o fewn cyrhaedd i mi, yn Cynwyd, lle o fewn rhyw wyth i ddeg milldir o'r Bala, yr hyn a fuasai yn daith fawr i fachgen pump neu chwech oed, ond pe buasai genyf ryw fesur o'r syniad sydd genyf heddyw, buaswn wedi cychwyn i Cynwyd cyn y dydd gyda "Bob Williams," hen gymeriad gerddodd lawer ar ol pregethwyr. Ond cefais fod wrth ei fedd. Dychymygwn weled ei lygad dall yn fflam dan yn y pwlpud, ac yn rhoi bloedd dros y dorf mewn cymanfa farwaidd, "O anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion hyn, fel y byddont byw," nes y cyfododd llu mawr iawn. Yn wir nid oes yr un pregethwr Cymraeg wedi

dod mor adnabyddus i'r Saeson a'r Americaniaid a'r hen wron yma. Y mae darlith y Parch. E. Payton Hood, (diweddar o Loegr), yn Boston ychydig amser yn ol, wedi peri i'r Americaniaid synu at ei ddawn arbenig. Cafodd ef fyw fwy o flynyddoedd na Williams o'r Wern, na John Elias, er iddo farw oddeutu dwy flynedd o'u blaen—bu farw Gorphenaf 20, 1838, yn 72 mlwydd oed. Taflai ei law wrth farw, fel pe buasai yn gweled ei hun yn myned mewn cerbyd, a dywedai "*Good-bye*," wrth ei gyfeillion, a "*Drive on*" wrth ei gerbydwr angeu.

*Mynwent y Groeswen, Morganwg.*—Bum droion yn y fynwent enwog hon, ond y tro olaf yn nghwmni Caledfryn. Cael gweled bedd Ieuan Gwynedd oedd fy mhrif amcan yn myned yno. Ni wnaeth gweinidog na llenor o'i oedran y fath wasanaeth i'n cenedl, yn ngwyneb y difrio a wnaed arni, yn enwedig ein merched, yn nglyn ag adroddiad Dirprwywyr Addysg yn 1846–47. Ymwregysodd ac ymarfogodd fel cadarn i ymladd dros ei wlad, a daliodd ati nes gorchfygu. Bu farw Chwefror 23ain, 1852, cyn bod yn llawn 32 mlwydd oed. Ysgrifenai yn y gwely, ac er i'w lestr gwaed dori, daliodd i ysgrifenu nes y fferodd ei law yn angeu. Cododd cenedl ddiolchgar gofgolofn ardderchog ar ei fedd, ac yr wyf yn cofio dwy linell o'r argraff sydd arni, o waith Hiraethog:

> "Y golofn yma gyhoedda haeddiant
> Ieuan Gwynedd, i'w wlad fu'n ogoniant.'

Yma y gorwedda y Parch. Moses Rees, (mab-yn-nghyfraith Dr. Phillips, Neuaddlwyd), a'r Parch. J. D. Williams, Caerdydd, pregethwr gwir alluog; ac amryw enwogion eraill, ac yn eu mysg erbyn hyn yr athry-

lithgar Caledfryn, yr hwn a fu farw Mawrth 23, 1869, yn 69 mlwydd oed. Dyma un o englynion campus Islwyn ar ei ol

"O! fyrdd-ddoniog Fardd Anian!—dy ganllaw,
Dy gynllun, dy gyfan,
Ydoedd natur loywbur lân,—cyweiries
Dy awen eres, dy dannau arian."

A dyma un arall gan Hwfa Môn, gwir ddarluniadol o hono

"Annibynol, iawn benaeth—hylithrol
Athraw i lenoriaeth;
Ei danllyd ddawn, ffryddlawn, ffraeth,
Burodd enaid barddoniaeth."

*Amryw Feddau yn Sir Aberteifi.*—Yn fy nhaith trwy Gymru yn 1877, aethum ar fy ffordd o Horeb i Hawen, heibio i fynwent capel Bwlchygroes, yr hon sydd wedi ei chau i mewn o lain o'r mynydd, ac yn un o'r claddfeydd glanaf a threfnusaf a welais nemawr erioed. Dyma lle y gorwedda yr hybarch S. Griffiths, Horeb (tad y Meistri Griffiths enwog o Cincinnati), yr hwn a fu farw Gorphenaf 4ydd, 1860, yn 77 mlwydd oed. Treuliais gryn amser yn ei gwmni pan y bu ar ymweliad a Birkenhead a Liverpool ychydig flynyddau cyn hyny. Unwaith y clywais ef yn pregethu, ond clywais ef yn gweddio droion, ac yr oedd ei bregeth a'i weddi yn nodedig o gadarn, ysgrythyrol, a synwyrlawn. Ychydig a feddyliai ef na minau, pan yn ffarwelio ag ef yn Carter Street, Liverpool, cyn ei ddychweliad i Horeb, mai wrth ei fedd y cwrddwn nesaf ag ef, wedi croesi y môr, a threulio blynyddoedd yn yr America! Mae ei fedd-faen, a'i holl gylch, yn dangos mor anwyl yw ei goffadwriaeth gan ei blant ac eraill. Wedi myned i Hawen, deallais fy mod wedi

bod yn ffodus iawn i ddod y pryd hwnw, cyn iddynt ddechreu newid yr hen addoldy, gael i ni ei weled fel yr ydoedd yn nyddiau y tadau. Ymholwn am fedd y Parch. Benjamin Evans, Drewen, yr hwn a fu farw Mawrth 2, 1821, yn 81 mlwydd oed, a dangoswyd y lle i mi, sef tu ol i'r pwlpud, mewn daeargell. Yr oedd hwn yn ysgolhaig Saesnig da. Yn "*History of Nonconformity in Cheshire*," gwelais ffaith na welais yn un man arall, iddo fyned, pan yn weinidog yn Llanuwchllyn, i ffurfio eglwys Annibynol yn Nghaer, Ionawr 30, 1772. Cofiwn am y ffaith hon pan yn sefyll wrth ei fedd. Bydd ei enw yn anwyl gan Annibynwyr Caer tra y pâr eu hanes. Yr oedd yn dda genyf yn mynwent Aberystwyth, gael gweled bedd yr hybarch Azariah Shadrach, gwr o'i weled unwaith a gofid byth. Dyn byr, bach, bywiog, a welais yn y Bala pan yn hogyn, a mantell las drosto, yn dringo i Bendomen ychydig cyn y cwrdd, ac yn cymeryd, y noson hono, un gair yn destyn, sef "Ystyriwch" (Heb. 3 : 1). Gwaeddodd ef, fel â llais udgorn, y tro cyntaf fel yr olaf, nes yr oedd y ffenestr y tu ol i'r pwlpud yn ysgwyd, a'r pellaf fel yr agosaf yn ei glywed. Dyn hynod ydoedd, a gwnaeth waith rhagorol. Yr oedd genyf feddwl da am dano yn wastad, ond llawer mwy wedi darllen y "Cofiant" gwir orchestol a wnaeth y Parch. J. Jones, Machynlleth, iddo. Bu farw Ionawr 18, 1844, yn 70 mlwydd oed. Dyna rai o'r prif feddau a welais, ac y teimlais egnioedd newyddion oddiwrthynt.

## OEDFAON GRYMUS.

Mi a gaf geisio darlunio ychydig o bregethwyr Cymru a glywais yn eu hwyl oreu, mewn oedfaon grymus.

*Yr Hybarch Dafydd Stephenson, Nantyglo.*—Dyna ef yn ei bwlpud ei hun yn Rehoboth o flaen ei gynulleidfa fawr, yn ddyn crwn a lluniaidd, ond heb fod yn gnawdol a chestiog iawn; yn bum' troedfedd a chwe' modfedd o daldra, ysgwyddau llydain, gwyneb llawn, llygaid amlwg a mwyn, gwddf byr, ac ysgogiadau araf a chymesur. Tyn ei destyn yn isel, ond eto deallid o ben draw y *gallery* wrth graffu, ac estyn y glust yn mlaen, mai adnod o Epistol Pedr sydd ganddo—"Os profasoch fod yr Arglwydd yn dirion." Parha yn lled isel am gwarter awr—ambell i frawddeg hwnt ac yma oeddwn yn allu ddeall. Rhydd bwysau ei fraich chwith ar y pwlpud, gwthia y Beibl yn fwy at wasanaeth ei ddeheulaw, ac â yn mlaen lawer mewn dull o holi ac ateb; dechreua ymwresogi, cwyd ei lygaid yn araf at ymylon yr oriel, a chlywn ef yn lled glir. "Beth yw 'os' y testyn," meddai; "os o gadarnhad, ac nid o nacad, yw hwn. 'Does dim *doubt* yn y testyn. Y mae llawer o hónom yn rhoi 'os' amheuol am diriondeb Duw yn ein bywydau." Yna rhana ei destyn—"1. Pwy sydd yn dirion—'yr Arglwydd.' 2. Pwy sydd yn derbyn y tiriondeb—'ni'—hen *rebels* fel chwi a minau. 3. Pa brawfion gawsom ni o'i diriondeb—'os *profasom* fod yr Arglwydd yn dirion.'" Wedi dod at y trydydd pen, yr oedd y fraich wedi ei thynu oddiar astell y pwlpud, y gwydrddrychau wedi eu rhoi o'r neilldu, y llaw chwith yn dyn ar y glust

chwith, a throai ei fraich ddeau fel canrhawd i'w lais; cyfeiria at diriondeb neillduol Duw at amryw yn y gynulleidfa. 'Mi gollais i fy ngwr,' meddai un; do, ond ti ge'st dy blant yn fyw." Hawdd gweled ar y gynulleidfa ei fod wedi cael allwedd degau o galonau. "Deuwch gyda mi yn awr i Galfaria i weled tiriondeb Duw," meddai, gan sychu ei chwys oddiar ei dalcen braf, a'i wyneb mwyn. 'Down yn wir, meddai Thomas Harries, Nantyglo. 'Gogoniant am Galfaria,' meddai Rosser o Glydach, hen ddawnsiwr gyda ffidl cyn ei droedigaeth. 'Mi stopa y tiriondeb yna i lifo at ddynion o hyn i maes,' meddai Satan; ond bendigedig, fe fethws, fe dorodd trugaredd holl argaeon Gehenna. Ie, ond mae cyfiawnder am stopo y *supply* i gyd. Ust! mi glywa y gair 'Gorphenwyd,' a dyna ras yn llifo.

"Ar Galfaria yr ymrwygodd
  Holl ffynonau'r dyfnder mawr;
Torodd holl argaeau 'r nefoedd,
  Oedd yn gyfain hyd yn awr;
Gras a chariad megys diluw,
  Yn ymdywallt yma 'nghyd,
A chyfiawnder pur a heddwch
  Yn cusanu euog fyd."

Bobl anwyl, yr oedd yno gwrdd cynes. Yr oeddwn i ar fy nhraed er ys meityn, yn un pegor bach llenyddol, heb ryw lawer iawn o ras yn fy nghalon, na dweyd na 'bw' na 'be,' ond yn *enjoyo* yr olygfa yn ddirfawr. Dyna dair o'r hen chwiorydd yn amenu, ac yn molianu, ac yn ymgodi ac yn ymostwng fel canghenau îr gyda yr awel. Edrycha Dafydd Jones, y darllenwr dihafal, yn syn tua'r pwlpud, a'i enau yn haner agored; dybla Thomas Williams, Llangattwg, ei amenau yn fân ac yn fuan; cura Thomas Owens ymyl y set

a'i law, a gwaedda yn gynes, 'Diolch, diolch iddo;' edrycha John Phillips, yr athraw a'r diacon dihoced, wrth ei fodd; pelydra gwynebpryd John Bevan, a llu o frodyr hŷn ac ieuangach; ac y mae yr hen famau yn Israel, a'r chwiorydd ieuangach, wedi cael gwledd. Nid yw wedi 'cwbla' ei bregeth eto. Try at y gwrandawyr, a rhybuddia hwy mai yn erbyn y Duw tirion yma yr oeddynt yn gwrthryfela. Dyna oedd ei apel ef atynt—'Artau i lawr, blant y *damits*, dawns, y meddwi, y maswedd, a'r rhialtwch. Efallai y bydd rhai o honoch yn y dagfa gan angau cyn y cawn gwrdd eto. Pwy a'ch difyra chwi y pryd hyny? Ai y ffidl neu y delyn? Trowch at Dduw heno. Oes rhai o honoch yn gofyn, 'Dderbynia efe ni?' Gwna yn wir—un tirion iawn yw Duw. Dewch ato fechgyn y *gallery*. Yr wyf fi yn tewi, ac yn golchi fy nwylaw oddiwrth eich gwaed."

*Yr Hybarch Henry Rees, Liverpool.*—Yn un o sasiynau cyntaf y Bala, ar ol marwolaeth yr enwog John Elias, yr wyf fi yn cofio clywed Mr. Rees gyntaf erioed, pan y pregethai oddiar y geiriau hyny, "Paham y creaist holl blant dynion yn ofer?" Gwnaeth ryw argraff annileadwy ar fy meddwl. Edrychai yn fwy tebyg i angel na dyn. Yr oedd yno dyrfa fawr aruthrol o'i flaen. Yr oeddwn i yn eistedd ar olwyn gwagen y pregethwyr, ac yn canfod yr holl *scene*. Cadwai y dyrfa o dan awyr drymaidd a dolefus arswydus am dymor. Dygai enwogion yr oesau ger bron, yn batriarchiaid, yn freninoedd, offeiriaid, a phrophwydi, a gollyngai hwynt o un i un dros y geulan i dragywyddoldeb, a gwaeddai ar y diwedd gyda phob un â thôn oedd yn rhwygo pob calon—" Paham y

creaist holl blant dynion yn ofer?" Yna cyfeiriodd at yr enwog "Elias o Fon," a gofynai yn ddwys, "Pa le y mae o?" Trodd at y pregethwyr tu ol iddo, ac edrychai yn syn am dano. "Nid yw efe yma," meddai yn y modd mwyaf hiraethlon, a gwnaeth nodiadau ar ei hyawdledd, ei dân, ei ddylanwad, a'i dduwioldeb, ac yna bloeddiai ofyniad ei destyn—"Paham y creaist holl blant dynion yn ofer?" Yn wir, yr oedd ar dori calon pawb; ond o'r diwedd gwaeddodd yn fuddugoliaethus, "Ddaru o ddim eu creu yn ofer." Ar hyn dyma yr hen Farged Williams, a Jini Ellis, a rhyw ddynes dal o Sir Drefaldwyn, a rhyw hen bererin nefol o Sir Gaernarfon, yn methu cuddio eu teimlad. "Gogoniant," meddai un. "Moliant byth i'w enw," meddai un arall. "Rhad ras i gyd," ebai y trydydd; ac unai rhyw lu mawr i ddiolch. Nid oedd modd clywed fawr arno ar ol yr ergyd rwygiadol yna, gan orfoledd a dawns duwiolfrydig y dorf. Pan y clywid ef dywedai bethau ardderchog am ras wedi eu cadw a'u gogoneddu byth. Pan elai o'r Green (y man y cynelid y Sasiwn), yr oedd cymaint o edrych arno a phe y buasai yn seraph o'r drydedd nef.

*Yr Hybarch William Rees, D. D.*—Y mae yn agos i ddeugain mlynedd wedi myned heibio er pan y clywais ef gyntaf yn y Bala a Llanuwchllyn. Ni chlywais neb, "na chynt na chwed'yn," yn cael y fath oedfaon nerthol ag a gafodd ef y pryd hwnw. Dyna ef yr adeg hono yn ddyn tal, ac yn hytrach yn fain, llwyd a theneu, gwddf-hir a dwfn-ddifrifol, yn esgyn i'r pwlpud; rhydd ei destyn allan yn ddwys ac araf, megys o un o gymylau pruddaf Sinai, ond eto ymdaenai rhyw awel adfywiol drosto. Gwrandewch y testyn—"A

oes eto un wedi ei adael o dy Saul, fel y gwnelwyf drugaredd ag ef er mwyn Jonathan?" Cyfryngwriaeth oedd y pwnc—Duw yn gwneyd trugaredd â phechaduriaid er mwyn ei Fab. Nid wyf yn cofio dim o raniadau y bregeth, na nemawr o'r sylwadau nerthol ynddi, ond yr wyf yn cofio yn burion yr argraffiadau a wnaeth ar fy meddwl i ac eraill. Daliai pawb eu llygaid arno, ac ofnent gymeryd eu hanadl ond wrth ei genad, ac nis gallent symud llaw na throed gan fel yr oeddynt wedi cael eu sicrhau mor dyn gan feistr y gynulleidfa. Safai yn y pwlpud fel angel mawreddog; yr oedd hyd yn nod ei lygad dall, gan nerth yr hylosgiad mewnol, fel cleddyf o drydan byw yn myned trwy galonau y dorf, pan y cyfodai ei fraich dde ar ei heithaf tua'r nen, ac y pwyntiai â'i fys blaen i'r gongl yma a'r gongl draw, gan ofyn, "A oes eto un wedi ei adael yn Mhenllyn eisiau trugaredd er mwyn y Mab?" Yn wir, nid oedd modd i'r caletaf beidio teimlo ei fod yn cael cynyg bendigedig am ei fywyd. Oedfa a gofir gan ugeiniau ydoedd hon.

*Y Parch. Owen Thomas, D. D., Liverpool.*—Yr wyf yn edmygwr mawr o'm mebyd o Dr. Owen Thomas. Y mae genyf gof plentyn am dano yn Athrofa'r Bala. Clywais ef y Cyfarfod Misol y seliodd ei dynged fel pregethwr poblogaidd, a chlywais ef yn y Sasiwn gyntaf y pregethodd yn y Bala. Llwyr orchfygodd y gynulleidfa, pan yr âi dros gyfres o bechaduriaid mawr oedd wedi eu cadw trwy ras. "Sut y cadwyd Saul o Tarsus? Sut hefyd, ond trwy ras," &c. Yr oedd yr hen Farged William yn methu gwaeddi llawer, ond yr oedd yn clapio ei dwylaw yn ddiolchgar am athrawiaeth rhad ras. Bloeddiai eraill dros y Green. O'r

braidd y cafodd orphen ei bregeth gan lef gorfoledd y dyrfa. Dranoeth eisteddai amryw ddynion a hogiau beirniadol ar ganllawiau pont y Bala. Canmolai pawb Owen Thomas. "Fe gariodd y Sasiwn yn wir," meddai y rhan fwyaf. Aethum i lawr at waelod y bont, ac ar ben y goeden ar ochr y llaw chwith, yr oedd un o'm cydchwareuwyr yn ceisio bloeddio fel Owen Thomas. Toc daeth i lawr o'r brig, a hongiai wrth un o'r cangenau isaf. Gofynwn iddo, "Beth wyt ti yn wneyd yna, Hugh?" "Tynu yn rhaffau yr addewidion yr ydwyf fel Owen Thomas, machgen i." Ar hyn, dyma y gangen yn tori, ac yntau ar wastad ei gefn ar lawr yn haner marw. Wrth geisio ei godi, "Rhyw dynu sobr iawn yw peth fel hyn, Hugh," meddwn wrtho. Gwasanaetha hyn er dangos fel yr oedd y pregethwr wedi gadael rhyw argraff ar feddwl yr hogiau mwyaf chwareugar. Un o bregethwyr penaf ein cenedl hyd y dydd hwn yw Owen Thomas. Y mae ei holl hyfrydwch mewn pregethu. Parha i fyfyrio yn galed. Addefa pawb sydd yn ei adnabod oreu ei fod yn ddyn duwiol iawn. Byddwn yn teimlo yn wastad wrth ei wrando ei fod yn gwneyd ei oreu i ddangos efengyl i bechadur tlawd a cholledig, ac y gallasai deimlo yn lled dawel i fyned o'r pwlpud i'r farn. Y mae o ran oedran a phrofiad yn y *front* yn awr.

*Y Parch. J. Thomas, D. D., Liverpool.*—Gwyr y rhan fwyaf mai brawd ydyw i Dr. Owen Thomas. Daeth o Glyn-nedd (Morganwg), yn olynydd i Dr. W. Rees, i'r Tabernacl, Liverpool. Yr wyf yn cofio yn burion ei destyn cyntaf yntau yn y Bala, pan yn ddyn ieuanc cryf, bywiog, a gwrol. "O ddaear, ddaear, ddaear, gwrando air yr Arglwydd." Bum yn medd-

wl lawer gwaith fod y testyn a'r bregeth yma fel rhyw *key note* i'w weinidogaeth gynhyrfus hyd heddyw. Siaradai yn gyflym iawn y pryd hwnw, ond yn eithaf eglur. Yr oedd fel rhyw raiadr gwyllt o'r dechreu i'r diwedd. Dywedai yr hybarch Michael Jones, wrth ferch Mr. Hughes o'r Dinas, am dano, "Y mae defnydd dyn mawr yn y dyn ieuanc yma yn awr." Hoffodd y gynulleidfa ef, a pheth oedd yn bwysig iawn, hoffodd yr hogyn penddu genyf finau ef. Tra yr oeddwn yn gweinidogaethu yn Birkenhead, ac yntau yn Liverpool, yn enwedig yn y teithiau casglyddol at ddyled Birkenhead, clywais ef yn amlach na'r un o'r rhai y caf gyfeirio atynt. Pâr hyn i mi betruso at ba oedfaon y cyfeiriaf. Yr oedd ganddo ef a minau ddwy neu dair a bregethem yn amlach na'u gilydd yn y teithiau a nodwyd, ac un yn fwy aml na'r lleill. Pregethwn i ar "Weddio mewn adfyd, a chanu mewn esmwythder;" ac yntau ar "Etifeddiaeth y saint." Clywais hon ganddo yn y capeli bach yn y cymoedd ar ddydd gwaith, yn gystal a'r nosweithiau a'r cyrddau mawr yn yr addoldai mwyaf, i gynulleidfaoedd gorlawn, ac yr oedd yn ei blas bob amser—nid oeddwn byth yn blino ar ei gwrando. Os nad yw Dr. Thomas wedi cyfnewid yn fawr, ni wna un gwahaniaeth rhwng cynulleidfa fach, os yn fywiog, a'r un fawr. Pregetha yn rymus a bywiog yn wastad i'r ugain yn gystal a'r mil, fel dyn cydwybodol dros Dduw, a hoff o'r efengyl. Ac y mae un neu ddau o bethau eraill arbenig yn perthyn iddo—gall ddal i siarad yn dderbyniol a chlirio ei wddf, a chymeryd ei anadl yr un pryd; ac y mae ei lais, er yn lled gryg weithiau ar y cychwyn, yn clirio ac yn ymbereiddio fel y dalia i siar-

ad, ac nid fel y rhan fwyaf o honom yn gwichian ac yn gwaethygu bob ergyd wrth fyned yn mlaen. Cymerai ei destyn y troion yr wyf yn cyfeirio atynt yn araf a dwys, "Gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'n gwnaeth ni yn gymwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Wedi dyweyd yn rhagorol ar "yr etifeddiaeth, yr etifeddion, a sefyllfa yr etifeddiaeth," deuai yn mlaen yn nghanol boddlonrwydd amlwg y rhai o naws efengyl, at "yr oruchwyliaeth ar yr etifeddion, er eu cymwyso iddi." Ac er dangos y pwys o feddu cymwysder i fyned i'r etifeddiaeth, arweiniai ryw weithiwr bach tlawd oddiar lechwedd un o fynyddoedd Cymru i balas Victoria. Yno y mae y bwrdd wedi ei hulio o'r danteithion brasaf, a phrif bendefigion y deyrnas i gydwledda wrth y bwrdd. Deuai y gweithiwr gwledig yn ei wisg lom at y wledd a'r cwmni urddasol: Druan o hono, y mae yn berffaith annedwydd. A oes ganddo rywbeth yn erbyn y cwmni? Nac oes ddim. Ai nid ydyw yn hoffi yr arlwyadau? O ydyw, pe y cawsai afael ynddynt yn ei fwthyn, neu wrth fon y clawdd, buasai yn talu yn iawn iddynt; ond y mae y gwychder a'r defodau yn ei wneyd yn hollol annedwydd. Felly y byddai pechadur pe yr elai i'r etifeddiaeth heb gymhwysder. "Byddai presenoldeb yr orsedd yn boen iddo, dysgleirdeb wynebpryd y Gwr sydd ar yr orseddfainc yn arogl marwolaeth iddo, a gwisgoedd gwynion y dyrfa berffeithiedig yn adlewyrchu gwarth ar ei fratiau budron." Dywedai mor nerthol ac argyhoeddiadol ar y mater yma fel na ddymunai neb fyned i'r nefoedd heb gymwysder, a chredaf fod degau yn aml yn llefain am gael eu cymwyso. Yna dybenai trwy sylwi ar "yr oruchwyliaeth yn y

deyrnged delir am dani" — "Gan ddiolch i'r Tad." Codai y gynulleidfa i hwyl diolch pan y gwaeddai, "Y mae yr etifeddiaeth yn ddiogel, a'r *title deed* am dani yn hen goffr y cyfamod tragywyddol." Yna gwnai gymwysiad dwys mewn tôn apelgar, wedi gostwng llawer ar ei lais, at y gwrandawyr, gan ofyn iddynt, "Ah! fy ngwrandawyr anwyl, i ba le yr ydych chwi yn dod yn gymwys?" Elai pawb a gânt flas ar bregethu efengylaidd, adref wedi cael tâl am ddod i'r oedfa fendigedig hon.

*Y Parch. W. Roberts, Great Mersey Street, Liverpool.*—Ni chlywais erioed Mr. Roberts heb bregeth dda, ac ôl llafur arni; ond yn Nghymanfa Bethel, Sir Gaernarfon, yn haf 1857, y clywais ef yn cael yr hwyl fwyaf erioed. Yr oedd yno luaws o rai da, ond pregeth Mr. Roberts gafodd fwy o effaith arnaf fi na'r un —uchel lanw ydoedd mewn gwirionedd. Pregethai oddiar Mat. 8: 11, 12. Ail-ddywedai drachefn a thrachefn, "Daw llawer." Yn wir yr oedd efe yn eu gweled yn dod, a minau hefyd. "Y mae Iesu Grist," meddai, "yn haeddu 'llawer,' y mae 'llawer' wedi eu haddaw iddo, a 'daw llawer' ato—'efe a gyfiawnhâ lawer,' ac a 'ddwg feibion lawer i ogoniant'. Dywedaf yn ddibetrus 'daw llawer,' ond byddai yn rhyfyg mewn angel geisio dyweyd pa nifer." Ymdwymnai, ymdoddai, ac ymireiddiai, a gwaeddai yn effeithiol, "Y mae yno ddigon o le i'r 'llawer.' Y mae yno uchelderau na chyrhaeddodd yr un archangel mo honynt erioed, a chyfandiroedd eang na threiddiwyd iddynt eto. A dichon y bydd i ryw Livingstone o angel neu sant ddarganfod tiriogaethau newyddion llawn o ryfeddodau gogoneddus yn mhen can' miliwn o oesau."

Y mae cofio bloedd effeithiol cymanfa Bethel—"Daw llawer," wedi peri i mi ymloni drwyddwyf lawer Sabboth a chymanfa galed ar ol hyny, ac nid oes dim byth a bâr i ni amheu na ddaw "llawer" i deyrnas nefoedd.

*Y Parch. David Roberts, Wrexham.*—Cafodd y rhan fwyaf o eglwysi a sefydliadau Cymreig America glywwed y pregethwr mwyn hwn yn ei ymweliad a'u gwlad yn 1869, fel na raid rhoi rhyw ddarluniad manwl iawn o hono. Ond godddefer i mi gyfeirio at un oedfa fendigedig a gafodd, yn Nghyfarfod Undeb yr Annibynwyr Cymreig yn Porthmadog yn 1877. Pregethwyd o'i flaen gan y Parch. T. Rees, Maenygroes, yn gryf, gwresog, a gafaelgar, ar "Ddyledswydd a Braint." (2 Pedr 1 : 10, 11.) Yna cawsom gan Mr. Roberts, un o'r pregethau mwyaf ysgrythyrol, swynol, a darluniadol a glywais erioed ganddo, ar "Gyfeiliornadau yr Oes," oddiar y geiriau hynod o briodol hyny—"Yr ydych yn cyfeiliorni, am na wyddoch yr Ysgrythyrau." (Marc 12 : 24.) Teimlwn ni, a theimlai yr holl dorf fawr ein bod yn myned i gael gwir wledd. Un o'r brawddegau cyntaf a gydiodd ynwyf oedd, "Nid oes yr un tir yr ydym yn ddiogel i sefyll arno, ond tir yr Ysgrythyr." Cymerodd drem ar y cyfeiliorni mawr oedd yn ein hoes trwy Resymoliaeth o un tu, a Defodaeth o'r tu arall. Nododd allan yr "athrawiaethau amryw a dyeithr" oeddynt yn cael eu pregethu yn y dyddiau hyny. Gwadai rhai "dragywyddol gospedigaeth yr annuwiol." "Ceisiant," meddai, "dwyllo eu hunain ac eraill eu bod wedi cael rhyw ben draw, eu bod wedi dyfod o hyd i gysgod a lloches rhag y maglau tân a brwmstan, eu bod wedi plymio a darganfod gwaelod i'r pydew diwaelod, bod rhyw ddiwedd

i'r gospedigaeth a elwir yn gospedigaeth dragywyddol, bod rhyw adeg yn y golwg y bydd y ffyrling eithaf wedi ei thalu! a dychymygant glywed trwst drws y carchar yn troi ar ei golynau i agor—breuddwydiant glywed sain udgorn Jubili Gehenna yn boddi sain udgorn yr archangel, yr hwn a eilw yr Ysgrythyr, 'Yr udgorn diweddaf.'" Wedi gwneyd sylwadau miniog ar yr Ysbrydegwyr, a'r Pabyddion, a'r Defodwyr, gwnaeth sylwadau pert a thrydanol ar ragoriaethau y Beibl: "Dyma y Llyfr; dyma yr Eneiniog," meddai. Yna a'i chwys yn disgyn fel gwlithwlaw tyner, a'i lais yn wir delyn Dafydd, cyfeiriai at fuddugoliaethau y Beibl. Llefara fel concwerwr cryf, "Rhanaf y ddaear, mesuraf ddyffryn America. Eiddof fi Affrica, eiddof fi Itali; Ewrop yw nerth fy mhen, Palestina yw fy neddfwr; Rwssia yw fy nghrochan golchi; dros holl ynysoedd y môr y bwriaf fy esgid; buddugoliaethaf ar Twrci." Yr oedd y dorf yn barod i ganu â thympanau ac â nablau, ac ag udgyrn soniarus am fuddugoliaeth yr Hen Lyfr bendigedig. Clywais Mr. Roberts lawer gwaith yn ei uchel fanau, ond erioed yn uwch na'r tro byth-gofus hwn.

*Y Parch. Rowland Hughes*, (*W.*)—Mawr oedd fy awydd i gael gweled a chlywed y gwr enwog hwn, gan ei fod yn berthynas agos i fy mam, ac yn Brynmawr, Mynwy, ar agoriad capel y Wesleyaid Seisonig yn y dref hono y cefais hyny gyntaf erioed. Yr oedd hyny mi dybiaf rywbryd yn 1847-8. Pregethai ar ganol dydd gwaith, er hyny daeth cryn dorf yn nghyd. Rhaid i mi gyfaddef fy mod yn craffu mwy nag a ddylaswn effallai arno yn ei agwedd, ei safiad, a'i ysgogiadau. Dyna fe yn llon'd pwlpud o ddyn tywys-

ogaidd yr olwg, o edrychiad diofn, eto boneddigaidd iawn. Cymerodd olwg ar yr addoldy a'r gynulleidfa, a thraddododd yn hamddenol, eglur, a phwysleisiol iawn am y rhan gyntaf o'i bregeth, un o'r darnau goreu a glywais erioed ar "Wasanaeth Ffydd yn Nghyfiawnhad pechadur ger bron Duw." Llwyr argyhoeddodd fi yn yr ugain mynyd cyntaf, ei fod yn dduwinydd o'r fath mwyaf gafaelgar, eglur, a detholedig ei eiriau. Tybiwn er hyny y gallai diogi neu ryw beth o'r fath yn marn llencyn bywiog o'm hoed a'm profiad, fod yn dueddol iddo. Ond dyna fellten ofnadwy. Dyna daran ddychrynllyd. Rhaid fy mod wrth Sinai. Cefais ddigon o brawf nad oes obaith i bechadur am gael ei gyfiawnhau, yn ngwyneb deddf. Llwyr argyhoeddodd fi am byth o'r ynfydrwydd o geisio. Yn mha le y mae y pregethwr? Y mae o'r golwg. Aeth fy ewythr Wesleyaidd i golli, a daeth "gwr Duw" i'r golwg. Arweiniodd ni i Galfaria. Yr oedd y ffordd i gyfiawnhau yr annuwiol trwy ffydd yn ei waed ef yn glir, ac yn fendigedig o dderbyniol gan y gynulleidfa. Dyna oedfa a gofiaf byth. Yn mhen y blynyddoedd wed'yn cefais ei gyfeillach pan oedd yn nghylchdaith Liverpool, nid rhyw lawer o amser cyn ei farwolaeth yn 1861. Pregethai ar brydnawn Sabboth yn hen gapel y Wesleyaid, allan o Oliver Street, yn Birkenhead, ar "Ddiflandod dyn daearol, a sefydlogrwydd yr Efengyl." Ei destyn oedd, "Canys pob cnawd fel glaswelltyn yw." (1 Petr 1:24, 25.) Yr oedd erbyn hyn, os yn llai tanllyd, yn fwy ireiddiol. Chwysai yn llif, a thraethai yn odidog o dda, gan beri i ni beidio ymddiried mewn bri daearol. Yna trodd at gadernid Gair yr Arglwydd, sef yr efengyl. Yr oedd

hon i aros. Un drefn "a luniwyd mewn cyngor pell, er anrhydedd cyfiawnder Duw, a diwallu angenion dyn." Yna cymerodd drem ar yr holl destyn, gan ei droi yn gymwysiadol at y gynulleidfa. Rhybudd iai bawb o'u gwendid a'u gwaelder. "Pob cnawd fel glaswelltyn yw, y brenin a'r cardotyn, y cryf a'r eiddil, y tlawd a'r cyfoethog, yr hen a'r ieuanc." Tuedd sydd ynom i anghofio hyn. "Dyna *lef*," meddai, "Beth ddyweda? Gwaedda, Pob cnawd sydd wellt." Gwywodd yntau cyn hir ar ol hyn.

*Y Parch. W. Thomas (B.), gynt o Liverpool.*—Bu am dymor yn weinidog eglwys y Bedyddwyr yn Great Crosshall Street, Liverpool, a symudodd oddiyno i Sir Fon, a gorphenodd ei yrfa ddaearol yno mi dybiaf yn 1881. Dyn gweddol fawr ydoedd—*farmer like* ei olwg. Gwelais ef gyntaf yn Mynwy. Hawdd oedd gwybod ar ei ddau lygad, ac ar ei enau ei fod yn un doniol. Pregethai yn hwyliog, toddedig, gafaelgar, yn ol arddull yr Hen Ysgol, ac ysgol fendigedig ar lawer cyfrif ydoedd. Byddai yn dda i ni yn oes y colegau yma gael yfed tipyn o'i hysbryd. Nid oedd neb yn myned i Fon ar ymweliad yn mysg un enwad yn fwy derbyniol na Mr. T. Yr oedd ei ddawn yn taro addolwyr cynes Mon i'r dim. Ac i ddosbarth yn y trefydd Seisonig, dynion wedi eu *mouldio* yn grefyddol mewn eglwysi llawn Amenau yn Nghymru, nid allasai fod dawn mwy pwrpasol. Dyweded rhai sych ddysgedig a crasleisiol beth a fynont, y mae yr un sydd a gwaed gwresog Cymro yn ei wythienau, a gras Duw yn ei galon yn sicr o hoffi y dôn berseiniol yn y pwlpud. Pan ar ymweliad a'm brawd yn Beaumaris, y cefais y cyfle goreu i'w wrando yn pregethu. Yr oedd

ei destyn y noson hono yn Rhuf. 5 : 20, "Eithr lle yr amlhaodd y pechod, y rhagor amlhaodd gras." Darluniai yn ddoniol *wreck* y ddynoliaeth yn agos i borthladd Eden, a "llong iachawdwriaeth, a *life boat* trugaredd yn troi allan yn union i achub pob truan a geisiai am drugaredd." Yna yr oedd yn darlunio rhai yn cael eu codi i mewn. "Dyna hi wedi darfod am byth ar Manasse! Na, dacw fad y bywyd wedi ei gipio yntau o'r *wreck* fawr. Felly hefyd Mair Magdalen. Aeth yn ystorm Euroclydon ar filoedd ar ddydd y Pentecost, ond wedi chwythu o bob cyfeiriad, dacw dros dair mil i'r lan! I rai yn byw ar fin y môr, ac amryw yn forwyr, yr oedd ei ddarluniad yn dderbyniol ac effeithiol iawn.

*Y Parch. Abel J. Parry* (*B.*), *Abertawe.*—Ryw bryd pan yr oedd yn y Cefnmawr yn weinidog, cyn dod i weinidogaethu i Liverpool, y clywais ef gyntaf, yn un o Gymanfaoedd yr enwad yn Liverpool a Birkenhead. Pregethai y noson hono yn nghapel y Trefnyddion Calfinaidd, Parkfield, Birkenhead. Yr oedd y pryd hwnw yn ddyn lled fain a thal, gwyneb hirgul, a gwallt du. Cymerai ei destyn yn hynod bwysleisiol, hyglyw, a dirodres. Ei bwnc oedd "Archoffeiriadaeth Crist." Ni fu yr un deg mynyd na allesid gweled yn mha le yr oedd cuddiad ei gryfder, sef mewn dadansoddi. Ymweithiai ar ol gwirionedd trwy bob brawddeg a throell-ymadrodd. Y mae hwn yn gampwaith, ond yr oedd ef yn gampwr arno. Enillodd iddo ei hun le parchus yn meddwl y Cymry mwyaf deallus y noson hono, fel y cyfrifwyd ef byth wed'yn yn bregethwr Pynciol o'r fath oreu. Nid oedd ganddo ddim llais i swyno a gogleisio y teimlad, ond yr oedd ganddo bethau a werthfawrogid gan bob meddyliwr manwl.

Yr wyf yn meddwl iddo gael ei ddwyn i fyny yn Liverpool o dan addysg yr "Hen Gorph;" ond ni welais neb erioed wedi ymryddhau mor llwyr oddiwrth ei argraffiadau. Nid oedd dim yn ei wedd na'i oslef tebyg i hen Fethodist; nis gallai neb achwyn nad oedd yn Fedyddiwr o arddull, yn gystal ag egwyddor.

*Y Parch. R. Thomas, (Ap Vychan).* Clywais ef yn fuan wedi iddo ymsefydlu yn y Dinas, yn pregethu ar ddiwrnod gwlawog arswydus, yn Hen Gapel Llanuwchllyn, a'i hen gartref yntau, ar "Ddoethineb." Gwrandawai yr hybarch Michael Jones arno gyda blas. Clywais ef yn fuan wed'yn yn Hen Gapel yr Annibynwyr yn y Bala, ar "Ddydd y pethau bychain." Yr oedd y pryd hwnw yn llawer mwy tawel na'r blynyddoedd wed'yn. Safai yn ddigyffro am dipyn, gan hauer gau un llygad, a siaradai yn ddengar a chyfan, ac wedi iddo dwymno nid oedd yn crochfloeddio fel yn y blynyddoedd olaf. Clywais ef wed'yn yn mhen deg-a-phymtheg mlynedd ar ol hyny yn Nghymanfaoedd Cymru, a Liverpool, a Birkenhead, wedi iddo fyned i'r Rhos a Bangor—ni chlywais ef ef ar ol iddo fyned i'r Bala. Yr oedd erbyn hyn yn gawr o gorph, ac yn gawr o bregethwr. Dyna fe ar ei draed, yn un o gedyrn blaenaf y pwlpud Cymreig, gyda gwyneb braf, agored a rhadlon, trwyn cofus a diwenwyn, llygaid treiddgar, ond mor ddiniwed a'r ddafad, talcen llydan ac uchel, a phen mawr cydbwys o'r deallol a'r teimladol. Gallasai rhai dyeithr dybio fod gormod o'r *mawreddog* ynddo, ond sicrha ei gyfeillion mwyaf mynwesol ei fod yn frawd cyfeillgar, a pharod i roddi parch i eraill. Clywais ef yn Brymbo yn pregethu o flaen Dr. W. Rees, a dyna y peth nesaf a wel-

ais erioed i ddau gawr yn cydredeg.' Yr oedd wedi dyfod y pryd yma i floeddio fel cant o udgyrn wedi eu huno, ac yn farddonol aruchel. Nid wyf yn gwybod am neb wedi uno y duwinydd cryf a'r bardd aruchel yn well nag ef. Yn rhywle oddeutu y "Ddeddf a'r Efengyl" yr hoffai aros. Clywais lawer o bregethau ganddo yn y cylchoedd yna. Ond yr un wyf fi yn gofio oreu yw yr un ar "Y Ddwy Oruchwyliaeth." "Ni wyddoch o ba ysbryd yr ydych chwi. Canys ni ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." Yr oedd hyn yn hen gapel yr Annibynwyr, Oliver Street, Birkenhead, a phob congl ynddo yn llawn at y drysau. Darluniai sefydliad yr hen oruchwyliaeth a'i hysbryd, a daeth at y newydd, a'r amcan mawr oedd gan Iesu Grist—"Cadw" eneidiau dynion. Bobl anwyl yr oedd yn gwaeddi "Cadw," nes yr oedd fel cloch *ferry* iachawdwriaeth i chwi brysuro i mewn i gael eich cadw. Gofynai yn effeithiol, "Pa le y mae y colledig, y dyn sydd yn clywed taranau Sinai yn rhuo, ac yn gweled y mellt yn fflamio allan o gwmwl du Dwyfol fygythion sydd bron ymdori ar ei ben? Gwrando enaid! ni raid dy golli di eto. Pregethau i gadw oedd pregethau Iesu Grist, gwyrthiau i gadw oedd ei wyrthiau, a gwaed i gadw oedd ei waed ef. Cadw! Y mae holl fendithion trefn iachawdwriaeth wedi eu lapio i fyny yn gryno mewn un gair. Yn awr gan fod Iesu Grist wrth y gwaith o gadw, y mae gobaith am y gwaethaf y tywynodd haul arno erioed." Yn wir yr oedd yn foddion gras i'w glywed. Wylai degau, a diolchai llawer am y drefn i gadw. Rhyfeddu y byddid amlaf o dan ei weinidogaeth ddoniol ef, ond wylid yn lli y tro yma. Efe hefyd oedd un o'r

areithwyr Dirwest goreu a glywais erioed. Yn Rhesycae y clywais ef olaf yn areithio, ac ni anghofiaf byth ei floedd—"Yfwch ddw'r o farilau y creigiau." Er fy mod yn ei weled pan yr ymwelais â Chymru yn 1877, wedi heneiddio llawer, eto y mae yn syn genyf fod dyn mor gryf a gofalus o hono ei hun, heddyw yn ei fedd!

*Y Parch. L. Edwards, D. D., Bala.*—Nid oes eisiau dyweyd mai perthyn i'r Trefnyddion Calfinaidd y mae Dr. Edwards, oblegid gwyr pawb a wyr rywbeth am hanes crefydd yn Nghymru y deugain mlynedd diweddaf, ei fod wedi creu cyfnod newydd yn hanes ei enwad. Clywais ef pan yn hogyn yn y Bala, clywais ef wedi i mi fyned yn fyfyriwr, a chlywais ef droion yn Sasiwnau Liverpool, a Birkenhead ar ol i mi fyned i'r weinidogaeth—daliodd yn fy marn trwy yr holl flynyddoedd fel un o'r pregethwyr goreu yn mysg ein cenedl, yn gystal ag athraw a llenor o'r rhes flaenaf. Clywais ef mewn angladdau cyffredin yn y Bala, a chlywais ef yn nghapeli mawrion a thynion Liverpool, ac o flaen y miloedd yn Sasiwn Bangor un tro. Y mae yn anhawdd gwybod pa un i ddewis o'r aml bregethau. Yr oedd yr un a'r "Weithredoedd Da," yn nghapel Pall Mall, Liverpool, mor fuddiol a'r un. Dangosai fod gweithredoedd da yn tarddu oddiar gyflwr da. Nad oedd modd gwneyd da, heb fod yn dda. Dangosai fod y Protestant efengylaidd yn llawn mor bleidiol i weithredoedd da, a'r Pabydd, ond nad oedd yn edrych arnynt oddiar yr un safle. Ffrwythau gras oedd gweithredoedd da. Ond efallai mai yr un lawnaf o'r brif nodweddion Dr. Edwards oedd hono ar "Offeiriadaeth Crist." Darluniai y pwys fod Iesu

Grist wedi myned i'r nefoedd, ond nad aeth yno heb waed. Safai uwchben y gwirionedd yma gan ryfeddu ei hun, a dwyn pawb arall i ryfeddu. "Ystyriwn," meddai, "y gwirionedd hwn. Bu Mab Duw yn y fath gyflwr yn ei berthynas â phechaduriaid, fel na chai efe fyned i'r nefoedd heb waed. Fe gauwyd nefoedd Duw yn erbyn Mab Duw fel cyfryngwr, ac nid oedd bosibl ei hagor heb waed." Yr oedd y gwirionedd yma yn goddeithio enaid y pregethwr, ac yr oedd y gynulleidfa ar dân synedigaeth. Yr oedd ef yn rhoi rhyw neidiadau cynhyrfus, gan luchio ei ddwylaw a rhan helaeth o'i gorph dros ymyl y pwlpud, a gofynai, "Pa fodd, bechadur, yr äi i'r nefoedd heb waed? Tydi y Pharisead hunan-gyfiawn, pa fodd yr wyt ti yn medru breuddwydio am nefoedd Duw yn rhinwedd dy weithredoedd da, gan nad oedd modd i'r Archoffeiriad ei hun fyned i'r nefoedd heb waed?" Daliai i ddangos gwerth gwaed Iesu Grist, nes yr oedd yn "werthfawr waed Crist" yn ngolwg ugeiniau. Son am ddysg yn gwneyd rhai yn bregethwyr sychion! Ni chlywais i erioed neb o "bregethwyr bon y clawdd" yn myned i fwy o hwyl na Dr. Edwards, ar adegau. Y mae wedi cael oes faith, ond carwn iddi gael ei hestyn "bymtheg mlynedd" eto.

*Y Parch. J. Roberts, Conwy.*—Gelwir ef yn gyffredin yn J. R., ond "John Roberts, Llanbrynmair," y gelwid ef mewn anwyldeb yn ardal y Bala pan yr oeddwn yn hogyn. Gwrandawais yntau lawer tro gyda blas pan oeddwn yn ieuanc, ac yn cyfrif "bechgyn, Llanbrynmair" fel seraphiaid ein cenedl a'n hoes. Gan nad pa gynysgaeth a gefais gan fy rhieni, cefais fy nysgu i barchu pregethwyr fel angylion Duw. Yr

oedd S. R., a J. R., yn y rhestr flaenaf. Pe y buasai rhyw bwys yn fy marn y pryd hwnw, dyna ydoedd, mai S. R. oedd yr ysgrifenydd goreu, a J. R. y pregethwr goreu. Ar ryw noson yn y Bala, agos i ddeugain mlynedd yn ol, pregethai J. R. ar "Glyn cysgod angeu." Darluniai ef fel "glyn ar gyffiniau eilfyd. Man lle y mae afon yn ymarllwys i'r môr, ac amser yn cael ei lyncu gan dragwyddoldeb. Y mae hi yn arw yma os bydd y storm o'r môr." Yn wir creodd ryw ofn rhyfedd ynwyf rhag myn'd i'r glyn yma heb arweinydd. Ond dangosai nad oedd dim perygl os byddai Crist yn bresenol i oleuo, amddiffyn, arwain, a dyddanu. Yna dangosai y fath ddiwrnod hyfryd i'r Cristion fydd hwnw pan orfydd i angeu gilio draw, ac yn enwedig y diwrnod "pan ddaw y *lease* i fyny, ac yr yspeilir angeu o'i ddyffryn." Yr oedd yno rai teuluoedd wedi cael eu hysbeilio ychydig cyn hyny gan angeu, a mawr mor werthfawr oedd yr oedfa hon iddynt. Clywais ef hefyd mewn hwyliau uchel yn Nghymanfa Bethel, ger y Bala, ar y geiriau hyny gan y Psalmydd, "A'th lwybrau a ddyferant frasder." Dywedai mai "cân i'r tymor haf" oedd y Psalm hon. Elai dros ddarluniadau barddonol y Psalmydd. Gosodai y flwyddyn fel brenines wedi ei choroni â daioni. Aeth dros lwybrau rhagluniaeth Duw—"Ei lwybr yn y môr; ei lwybrau yn y pridd, ac yn yr awyr; ei lwybrau ar hyd y meusydd; ei lwybrau yn y cymylau; a'i lwybr gyda'r haul. Yna daeth at ei lwybrau yn yr iachawdwriaeth; ac yn olaf ei lwybr i ogoniant. "Ei lwybr drwy angeu; ei lwybr trwy y bedd; a'i lwybr yn y nefoedd." Wedi dyddanu y saint, a'u harwain i frasder "maesydd gwynfa," y mae yn troi i rybuddio

yr annuwiol. Cauai ei lygaid yn dyn, a gwaeddai nes cyffroi yr holl dorf, a darluniai ystormydd uffern pan y byddai y "gwynt yn chwythu o'r môr marw," a'r hinwydryn heb symud byth o'r "*Stormy.*" Y "mae y maglau tân a brwmstan yn disgyn, y poethwynt ystormus yn codi, ac eneidiau noeth a'u hwynebau ar y gawod." Yn wir nid oedd modd peidio arswydo. Troai at y dorf i'w hanog i ddewis rhwng "gwlad y brasder, a gwlad y tylodi."

*Y Parch. S. Roberts.*—Ni raid i mi roi darluniad o hono ef fel dyn, na phregethwr, gan fod y rhan fwyaf o'r cynulleidfaoedd Cymreig yn y wlad hon wedi ei wrando pan y bu yn aros yma am flynyddoedd. Gofynais i gyfaill y dydd o'r blaen am y prif bregethau a glywodd gan S. R., a nododd, "Y Bachgen Iesu," a "Naomi, Orpah, a Ruth," a "Iesu Grist yr un," a'r "Sarph Bres." Dyma y rhai hefyd a ddaliodd fwyaf ar fy nghof i. Clywais ef yn pregethu ar bwnc gosodedig iddo yn Nghymanfa Meirionydd, sef, "Yr Iawn." Ond nid wyf yn cofio fawr o hono. Canmolid hi yn fawr gan y deallus. . Ni chlywais neb erioed yn dilyn y "Bachgen Iesu" mor swynol a buddiol. Yr oedd y rhieni a'r plant yn hoffi hono, ac yn cael gwersi rhagorol oddiwrthi. Ac y mae ei driniaeth ddoniol o "Naomi, Orpah, a Ruth," wedi andwyo y testyn am byth i mi, ac yn wir ni chlywais neb arall yn gallu gwneyd fawr o hono ar ei ol ef. Clywais ef yn y Bala ryw dro yn darlunio "Iesu Grist yn yr ardd," yn effeithiol nodedig. Nid wyf yn cofio ei destyn, ond aeth a'r gynulleidfa i ardd Gethsemane, nes yr oeddym yn clywed gruddfanau Iesu, ac yn gweled ei chwys gwaedlyd. Nid oeddwn yn gweled neb "ond yr Iesu

yn unig" am ryw eiliadau, a phan y codais fy ngolwg, yr oedd y dorf yn wylo mewn dystawrwydd hollol.

*Y Parch. Noah Stephens, Liverpool.*—Daethum i adnabyddiaeth yn fuan ag ef ar ei ymsefydliad yn Sirhowy, a bum mewn cymdeithas ag ef yn Liverpool am flynyddoedd. Yr oedd yn ddyn hawdd iawn i'w wahaniaethu oddiwrth bawb. Yr oedd ganddo wallt crychgoch, a llygaid yn ymdaflu allan yn fawr, nes ei wneyd yn hynod ar yr edrychiad cyntaf. Gwasgai law yn dyn â chyfaill, a hawdd canfod fod ganddo serch gwresog. Yr oedd ganddo yn ei oriau siriol ryw edrychiad direidus oedd yn datod fy holl natur i. Clywais yntau, fel Dr. Thomas, yn aml yn ein teithiau i gasglu at ddyled Birkenhead; ei destyn mwyaf cyffredin ef y pryd hwnw oedd, "Canys er gwerth y prynwyd chwi." Yr oedd hon yn bregeth nodedig o dda, ac o duedd ymarferol iawn. Fe sonir gan ugeiniau hyd heddyw am ei bregeth orchestol yn Nghymanfa Caernarfon ar "Ffydd." Yr oedd yn nodedig am ddefnyddio *illustrations* celfydd, coeth, a meistrolgar yn ei bregethau. Ni ddefnyddiai lawer o honynt, ond cymerai amser i fyned dros eu holl ranau, nes yr oeddych wedi cael darlun byw o'r gwirionedd a draethai. Nid anghofiaf byth ei bregeth ar "Y pethau yn nghylch Iesu o Nazareth," yn nghapel Seacombe. Nid oedd llawer wedi dyfod yn nghyd, ac ni thraddododd hi i gyd. Dyna yr unig dro i mi ei chlywed. Yr oedd rhai darnau o honi yn gafael fel tân byw yn y bobl. Safai ar ei led ochr, a'i law chwith yn gafael yn dyn wrth ei ochr, a'i ddeheulaw yn estynedig, gan godi a gostwng fel y galwai y gwirionedd, a'i fys blaen ar ei hyd yn pwyntio at ryw arwedd ar-

benig o'r gwirionedd. Dangosai fod pethau "y weinidogaeth efengylaidd" yn "gydweddol â syniadau naturiol dyn." "Y mae," meddai, "plentyn deng mlwydd yr Hindoo, a'r tywysog breninol o'r un oed yn mhalas Windsor, yn teimlo gofid ar ol dweyd celwydd." Yna nesâi yn mlaen, a dangosai eu bod yn "bethau uwchlaw dyfais dyn." Cyfeiriai at ddarganfyddiadau Syr Isaac Newton, a dyfeisiadau Stephenson i godi pontydd, ac fel yr oedd meddyliau eraill yn gallu eu hamgyffred a'u dilyn, ond hwynt-hwy a'u cafodd allan. "Y mae," meddai, "pethau am Iesu o Nazareth yn ormod o ddyfais i un meddwl, ond meddwl yr anfeidrol." Ond yr wyf yn meddwl mai noson Cymanfa Birkenhead, yn pregethu yn nghapel Oliver Street gyda Hwfa Mon, y clywais ef oreu erioed. Yr oedd ei holl ragoriaethau yn cydgyfarfod yn y bregeth hono—y tlws a'r barddonol, yr athronyddol, y duwinyddol, a'r gwir ymarferol. Ei destyn oedd, "Dangosodd efe i ti, ddyn, beth sydd dda." Yr oedd agos bawb yn cael rhyw hwyliau uchel iawn, ond yr oedd Mr. Stephens yn anarferol o ddylanwadol. Tystiai dyn ieuanc oedd newydd ddychwelyd o'r America, ac wedi ei rwydo gan *sceptics* New York, nes yr oedd yn galed iawn, fel nad oedd y pregethwyr melusaf yn effeithio dim arno, ei fod yntau yn cael ei orchfygu yn hollol gan bregeth *logical* ac athronyddol Mr. Stephens y noson hono.

*Y Parch. Owen Evans, Llundain.*—Efengylwr trwyddo yw y brawd hwn. Clywais yntau lawer o droion, yn enwedig pan yr oedd yn gymydog agos i mi yn Wrexham. Dyn o daldra cyffredin, gwyneb hirgul, ac ol y frech wen arno. Gwefusau mawrion i seinio

pob llythyren o'r Gymraeg, ac i arllwys yr ymadroddion mwyaf pwrpasol ac ysgrythyrol. Y bregeth a glywais amlaf ganddo oedd hono ar "Yr hwn a ddiddymodd angau," &c., ac yr wyf yn meddwl mai yn y Wyddgrug y clywais hi oreu erioed. Ymgodai i ryw hwyl fuddugoliaethus iawn, a dywedai, "Fe gaiff angau ei lyncu mewn buddugoliaeth ryw ddiwrnod. Fel y mae y môr yn ei gynddaredd yn llyncu y *wreck* o'r golwg i'r dyfnder, ac yn cau ar ei ol, felly y llyncir marwolaeth gan fywyd yn moreu yr adgyfodiad." Ac ni chlywais neb, na chynt na chwed'yn, yn adrodd yr hen benill hwnw mor effeithiol—

"Ni bydd wed'yn son am farw,
Gair o son am frenin braw;
Nid oes mo lythyrenau'i enw,
Yn ngeirlyfrau'r byd a ddaw."

Yr oedd wedi llwyr orchfygu y gynulleidfa pan y darluniai esgyniad Iesu Grist, "*Tra* yr oedd efe yn eu bendithio." Gofynai rhywun, efallai, "Paham na buasai yn aros nes gorphen bendithio cyn myned?" Ac atebai yntau gyda rhyw dôn gyrhaeddai ddyfnder y galon, "A'ch helpo, buasai heb adael y ddaear eto pe y gwnaethai hyny; y mae heb orphen bendithio trwy drugaredd hyd heddyw." Nid wyf yn gwybod am yr un pregethwr a mwy o naws yr efengyl ar ei eiriau, ei lais, ei agwedd, a'i fywyd, na Mr. Evans. Gwyr y De a'r Gogledd, a Liverpool, a Llundain am dano yn y cymeriad hwn.

*Yr Hybarch Cadwaladr Jones, Dolgellau.*—Do, clywais yr "Hen Olygydd," fel ei gelwid, mewn hwyl uchel ddwywaith. Nid fel pregethwr hwyliog yr adwaenid ef, a'r hybarch E. Davies, Trawsfynydd—

cewri synwyr cyffredin oeddynt. Ond unwaith, pan y pregethai Mr. Jones ar yr "Hyfryd Lais," yn y Bala, pan yr oeddwn yn fyfyriwr yno, seiniai un o udgyrn arian gwyl y Pentecost yn Jerusalem, ac y mae ei swn yn fy nglust, i raddau, ond yn fwy yn fy nghalon, hyd heddyw. Yr oedd ei bregeth, nid yn unig yn efengyl bur a synwyrol, ond yn swynol a nefolaidd o hyfryd. Bryd arall, yn yr un man, ar adeg urddiad y Parch. J. Peter, yn 1859, traddodai siars i'r gweinidog, oddiar 2 Tim. 4: 11. "Cymer Marc, a dwg ef gyda thi, canys buddiol yw efe i mi i'r weinidogaeth." Tarawodd y testyn y gynulleidfa ar unwaith. Gwnai sylwadau mor bwrpasol fel nad oedd modd peidio gwrando arno. Yr oedd pob peth yn rymus yn y bregeth hono. Parhai yn fywiog a doniol o'r dechreu i'r diwedd. Byddai weithiau yn *witty*, bryd arall adroddai hanesyn cyffrous, yna sylw apelgar, a bloeddiai yn soniarus nes llanw y lle â'i lais, a hwnw mewn rhai brawddegau a geiriau mor fwyn a'r delyn, yn enwedig yr enw "Marc," a'r geiriau, "buddiol," a'r "weinidogaeth." Soniodd Mr. Peter a minau lawer am yr oedfa hono.

*Y Parch. B. W. Chidlaw.*—Y mae natur a gras wedi ei gymwyso yn *revivalist.* Torodd diwygiad grymus allan dan ei weinidogaeth pan ar ymweliad â Chymru yn 1839–40. Gan ei fod yn frodor o'r Bala, mawr oedd fy awydd am ei weled y pryd hwnw. Gwelwn ef yn dod un boreu Sabboth o Ty'nybont i'r Bala erbyn dau o'r gloch. Edrychai y pryd hwnw yn ddyn teneu, tal, gwisgi, tanllyd, crasgoch ei olwg. Ei destyn oedd, "Cymer afael ar y bywyd tragywyddol." Taflai raff dros fwrdd y llong at ryw druan oedd

rhwng y tonau—rhaff iachawdwriaeth i druan colledig ydoedd. Cydiodd llawer ynddi am eu bywyd. Yn Nghymanfa Pittsburgh, 1881, yr oedd mewn hwyliau uchel boreu Sabboth, yn pregethu oddiar Esa. 54: 13. "Dy holl feibion hefyd fyddant wedi eu dysgu gan yr Arglwydd; a mawr fydd heddwch dy feibion." Ni chlywais bregeth erioed mwy buddiol ar addysg deuluaidd. Toddai galon y rhieni, a lleithiai lygaid y plant. Ond prydnawn Llun yn y gyfeillach y bu agos i ni ei golli o'n golwg, fel Elias. Adroddai hanes Diwygiad Llanuwchllyn yn 1839. Crybwyllai fod yno barotoi mawr trwy weinidogaeth y Parch. M. Jones, ac ymroad Mrs. Jane Howells (nain fy ngwraig), o Utica, yr hon oedd wedi bod ar ymweliad a'r lle, ac yn llawn o ysbryd Finney; ond efe oedd y *fatchen* daniodd y pylor. Taniodd Duw Ogledd Cymru, a Liverpool drwyddo. Wrth fyned dros yr hanes, yr oedd ei fynwes fel ffwrnes boeth. Plethai ei ddwylaw, ac edrychai tua'r nefoedd, ac ni fuasai yn rhyfedd genym iddo fyned yno ar y pryd. Hyfryd gwrdd.

*Amryw Oedfaon Grymus.*—Yr oeddwn wedi dethol ugain eraill y clywais hwynt yn eu huchel-fanau; ond y mae yn rhaid cyplysu llawer, a gadael rhai allan. Dyna y Parch. W. Jenkins (fy hen weinidog parchus), Pentre-estyll yn awr, yn pregethu pan ar ymweliad o Capel Iwan a'r fam eglwys yn Rehoboth, Brynmawr, ar noson Cymanfa Cendl, pan yr oedd y cynulleidfaoedd yn gynhyrfus iawn trwy y *cholera* oedd yn medi pobl i lawr wrth yr ugeiniau. Cododd Mr. Jenkins gyda dwysder, ac edrychai yn *nervous* wrth gymeryd ei destyn, "Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid." Wedi rhyw ychydig o ragymadroddi,

a rhanu ei destyn, diflanai ei ofn, a gwresogai ei deimlad, a gwaeddai mewn goslef doddedig a threiddiol, "Ysgrifena ar gapan dy ddrws, 'Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid;' ysgrifena ar bost dy wely, 'Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid.'" Dyna daran, "O, diolch!" gan ryw bechadur mawr, a dyna eraill yn uno, ac arosodd naw-a-phedwar-ugain yn y gyfeillach y noson hono. Buasai yn dda genyf allu cyfeirio at haner dwsin o oedfaon nerthol iawn y bum yn gwrando y Parch. E. Stephen, Tanymarian, ond ni chaf ond at un neu ddwy—"Bedydd Dyoddefiadau Crist," a "Tydi yn y dechreuad a sylfaenaist y ddaear." Edrychir arno fel cerddor mawr, ac y mae felly, ond nid oes nemawr bregethwr yn Nghymru heddyw wedi cael grymusach oedfaon nag ef. Nid anghofiaf byth ei floeddiadau soniarus a thrydanol yn Nghymanfa Ffestiniog, ei hen ardal enedigol. Pan yn darlunio dyoddefiadau y Cyfryngwr, rhedai ei ddagrau ef yn lli', a thywalltai y torfeydd gawodydd o ddagrau. Medra ef waeddi fel cadarn, a gofala beth i waeddi. Y mae tân, nerth, a pheroriaeth, yn ei bregethau. Cydgyfarfydda rhagoriaethau yr hen ysgol a'r newydd yn y Parch. Thomas Rees, D. D., Abertawe. Y mae yn dduwinydd cryf, goleu, iachus, ac efengylaidd, y gellwch ymddiried pob pwnc o athrawiaeth iddo bregethu arnynt, ond yn y cywair lleddf y mae ei brif ragoriaeth. Nid oes neb cyffelyb iddo mewn angladdau, ac adeg o gyfyngder ar deuluoedd ac eglwysi. Y mae wedi ei foldio gan yr efengyl. Ei chenad hi ydyw, ac ni ellir ei droi i ddim arall. Ni chlywais neb erioed yn medru adrodd ystori yn well nag ef. Os ca ryw hanesyn i daro ar ei destyn, gwna y defnydd mwyaf

bendigedig o hono. Y mae yn ddyn o'r fath anwylaf gan bawb. Ffrydia drosodd o garedigrwydd. Tafla fwynder dros yr holl gwrdd pan y cyfyd yn y pwlpud. Tywysog y pregethwyr coeth a boneddigaidd oedd y Parch. William Ambrose. Y tro cyntaf erioed y clywais ef yn Llanuwchllyn, torodd allan yn orfoledd, pan y traethai ar "Ddyoddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hyny." Un arall a fu yn gwneyd gwaith effeithiol mewn llawer man oedd ei bregeth ar "Mewn wylofain y deuant, ac mewn tosturiaethau y dygaf hwynt;" ac un arall gyffelyb ar y geiriau, "Canys daw y dydd y llefa y gwylwyr yn mynydd Ephraim, Codwch, ac awn i fyny i Seion at yr Arglwydd ein Duw." Hir gofir am ei floedd, "Daw y dydd, daw y dydd." Yr oedd yn ddigon coeth i bregethu i bendefigion Llundain, ac yn ddigon isel i bregethu ar lethrau mynyddoedd Cymru. Gan i mi gyhoeddi cofiant i'm diweddar dad-yn-nghyfraith, y Parch. Thomas Pierce, Liverpool, nid rhaid i mi gyfeirio nemawr ato ef; ond clywais amryw weithiau gyfeiriadau er pan ydwyf yn America at ei bregeth orchestol ar y geiriau hyny, "Efe a yf o'r afon ar y ffordd, am hyny y dyrcha efe ei ben." Dilynai y Gwaredwr trwy ei lafur a'i fuddugoliaethau cyfryngol. Llaciodd y cwmwl arno yn Rehoboth, Brynmawr; ond daeth yn wlaw taranau arno yn Sirhowy.

Dywedai un wrthyf yn ddiweddar mai yn yr oedfaon hyn y daeth yn "wanwyn ar ei enaid" ef. Clywais y Parch. W. Caledfryn Williams yn cael rhyw hwyliau nodedig gyda phedair o'i bregethau—"Cuddio pechod," "Dull y byd yn myned heibio," "Pethau mawrion fy nghyfraith," a'r "Adgyfodiad." Pregeth-

odd y gyntaf am ddau o'r gloch yn Birkenhead, ac yr oedd pob llygad yn effro—pregeth blaen, ymarferol, ac efengylaidd iawn ydoedd. Yn Sir Fon y clywais yr ail y tro cyntaf, a'r tro goreu. Taflai ei fraich fawreddog allan, ac ysgydwai ei ben tywysogaidd, a gofynai, "Yn mha le y mae Babilon fawr a'i chaerau, ei gerddi, a'i thyrau? Y mae wedi myned heibio. Pa le y mae Jerusalem, y ddinas sanctaidd, tegwch bro, a llawenydd yr holl ddaear, gyda ei phalasau heirdd, a'i theml ysblenydd, lle y trigai y gogoniant dwyfol, yr allorau a'r ebyrth, yr offeiriaid a gwaed y taenelliad, y meitr a'r ddalen aur, y ddwyfroneg, a'r urim a'r thumim? Y mae wedi myned heibio." Chwi welwch y byd yn myned heibio fel *panorama*. Yn y Bala y clywais y drydedd gyntaf, ar foreu Sul, ar ei ffordd i Llanuwchllyn erbyn dau o'r gloch, a dyma y tro cyntaf erioed i mi ei glywed. Clywais yr olaf ar yr "Adgyfodiad," yn y Bala, yn Brynmawr, ac yn Nghymanfa Amlwch, Mon. Yr oedd yn dda odiaeth bob tro, ond yr oedd fel *prairie fire* yn Brynmawr. Yr oedd yn adeg y *cholera*, degau lawer yn wylo ar ol eu meirw, ac yr oedd athrawiaeth yr adgyfodiad wrth fodd calon Seion y noson hono. Yr oeddwn yn cysgu gydag ef yn Amlwch ar ol ei thraddodi yno, a dywedai ei fod wedi penderfynu pregethu rhyw dair neu bedair o bregethau hwylus at ei feddwl, a buddiol i'r bobl, tra y byddai byw. Barnai mai peth ffol oedd beichio y meddwl a phregethau newydd o hyd, fel na fedrid mwynhau ei hun, na neb arall. O'r braidd mae yn ddiogel ei efelychu yn hyn, ond yn sicr y mae llawer o wir yn yr hyn a ddywedodd. Cafodd ef, beth bynag, oedfaon gogoneddus o hwyliog gyda ei hen breg-

ethau. Er fy mod yn hen gyd-efrydydd â'r Parch. R. Williams (*Hwfa Mon*), nid wyf wedi cael cyfle i'w glywed rhyw lawer o weithiau er pan y mae yn cael ei restru yn y rhes flaenaf o bregethwyr ei enwad; ond clywais ef yn cael hwyliau rhagorol ar "Weddi Ddirgel," yn Nghymanfa Môn, ac ar yr "Ystorm ar fôr Tiberias," yn Nghymanfa Birkenhead. Ond y mae wedi myned lawer uwchlaw i'r raddfa hono erbyn hyn, fel y cefais beth prawf yn Nghymanfa Rhesycae, yn 1868. Yr oedd fel corwynt cryf yn ysgythru pob peth o'i flaen. Medr hefyd draws-newid i'r tyner, a gwneyd y geiriau mwyaf yn felfedaidd. Y mae ei chwys perlog yn *accompaniment* dedwydd iddo. Ni phâr i chwi dosturio drosto yn ngwyneb ei lafur, fel gyda rhai, ond y mae fel yr enaint tywalltedig arno. Yr wyf o dan yr un anfantais agos gyda y Parch. E. Herber Evans, Caernarfon, gan fy mod heb ei glywed yn pregethu er ys tair-blynedd-ar-ddeg, a'r rhai hyny y blynyddoedd mwyaf cyhoeddus, efallai, yn ei hanes. Ond penderfynais y gwnai bregethwr o'r fynyd gyntaf y bum yn siarad ag ef ar y mater, wrth ystôr yn Ranelagh Street, Liverpool. Yr oedd yn boblogaidd ar ei gychwyniad yn Liverpool, ac aeth yn "Spurgeon Cymru" pan yn y Coleg, ac yn mlynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth. Rhodd werthfawr Duw i Ogledd Cymru ydyw, erbyn i Caledfryn fyned i'r Deheudir i orphen ei ddydd; i Emrys gael ei barlysu a marw, ac i Ap Vychan symud i'r Bala, a huno gyda ei dadau. Clywais Mr. Evans mewn hwyliau uchel yn Birkenhead, yn Penygroes, ger Llansantffraid, yn y Bala, ac yn Grove Street, Liverpool. Gofynai gweinidog Americanaidd i mi roddi darluniad o hono, gan na

welodd ef erioed, a dyma ran o'r darluniad, fel yr edrychai yn yr oedfaon y cyfeiriaf atynt. Dyn tal, llydan, tew, a boneddigaidd ei olwg, heb ddim mursendod, otn, na rhodres. Ei lygaid a'i wefusau a fyddant yn tynu fy sylw gyntaf yn wastad, pan yr eistedda mewn cwmni, neu pan y saif o flaen cynulleidfa. Y mae ei lygad yn hytrach yn fach, ond yn dreiddiol, byw, a llawn teimlad; ac y mae ei enau, er heb fod yn fawr, wedi ei mesur, ei ffurfio, a'i gosod i dywallt dros ei wefusau cwrlog ryw Niagrfeydd o hyawdledd. Siarada mewn rhyw bedair tôn, a phob un yn naturiol, swynol, ac effeithiol. Ymreda fel yr *express train* cyflymaf dros reilffyrdd yr efengyl. Y mae yn annarluniadwy o ddoniol. Ond yn nghanol ei holl ddawn, ni chlywais ef erioed yn anghofio y buddiol. Prégethai yn y Bala ar "Wirionedd yr Efengyl," a chyfeiriai at ryw filwyr a welodd yn agos i'w hen gartref yn moreu ei oes, yn saethu yn erbyn craig. Daliai yr hen graig yr holl ergydion, a disgynai yr ergydion yn *flat* wrth ei gwaelod. Gwaeddai yntau, nad oedd holl ergydion y gelynion yn erbyn yr efengyl ond *flat shots* i gyd.

Gallasem gyfeirio at oedfaon nerthol y Parch. Wm. Griffith, Caergybi, yn Birkenhead, a Bethel, Arfon, ar yr "Annuwiol"—un heb Dduw, un annhebyg i Dduw, a'r un gwrthwynebol i Dduw; ac oedfaon y Parch. John Evans (W.), Eglwys Bach, yn Pittsburgh, ac amryw leoedd yn America, yn enwedig ar Psalm 87. "Ei sail sydd ar y mynyddoedd sanctaidd," &c. Darluniai yn annhraethol odidog "ogoniant yr eglwys." Pan y traethai ar ei genedigion enwog, "Y gwr a'r gwr a anwyd ynddi"—neu Gwr y

gwyr a anwyd ynddi—Iesu Grist, tywalltai yr hen weinidogion, William Owens (B.), Llewelyn Powell, T. C. Edwards, D. R. Davies, ac eraill, eu hamenau a'u diolchiadau cynes; a phan y bloeddiai tua'r diwedd, "Dowch a'r *band* i mewn—'y cantorion a'r cerddorion a fyddant yno,'" yr oedd llawenydd plant Seion yn llifo dros yr ymyl. A bydd yr oedfaon olaf a gefais yn Nghymru, yn 1877, yn Nannerch, Sir Fflint, byth ar fy nghof. Pregethai y Parch. W. Nicholas, Liverpool, yn swynol, toddedig, a llawn cyfeiriadau at galon a chydwybod; yr oedd y Parch. D. Oliver yn traddodi fel ysgolor beirniadol, a hoff o'r gwirionedd digymysg; a'r Parch. Henry Rees (mab Dr. Rees), yn ymadroddi yn ysgrythyrol, dwys, a darluniadol, gan roddi ambell i ergyd teilwng o fab Hiraethog. Yr oedd genyf nodiadau lled faith ar fy hen athraw, yr hybarch Michael Jones, yn ymgodi i'r fath hwyl yn nghyfarfod fy urddiad, nes tori i adrodd hymnau; ac o'i fab, y Parch. M. D. Jones, yn Nghymanfa Pwllheli, a thrachefn ar Ddirwest yn Coedpoeth, lleoedd y profodd, nid yn unig yn ysgolhaig da, a Chymreigydd pur, ond yn bregethwr doniol a grymus; o'r diweddar Barch. J. Davies, Caerdydd, y dyn bach o gorph, ac enaid cawr ganddo, ac yn bloeddio fel udgorn arian, wrth bregethu ar y "Dysgybl Thomas," nes cywilyddio a gofidio pob esgeuluswr o foddion gras; o'r hybarch D. Rees, Llanelli, yn troi yn ol y bobl oeddynt wedi ceisio cilio yn gynarol o oedfa ddeg Cymanfa Rhesycae i gael ciniaw, gyda ei floedd glochaidd, gan eu rhwymo yn dyn i wrando am ugain mynyd yn mhellach; a'r Parch. T. Davies, Siloa, Llanelli, yr hwn a argyhoedda dorf ar un edrychiad,

o'i ysbryd dihoced a charedig, ac a garia gynulleidfa fel y myn trwy ei bethau cryfion, â'i lais cynhyrfus a boddhaol; a'r Proffeswr W. Morgan, Caerfyrddin, gyda ei ddull rhesymegol ac athrawaidd yn ymdrin â "Greddf, Rheswm, a Chydwybod;" a'r diweddar Barch. Ellis Hughes, yn byrdynu yr hen linell, "O, ryfedd ras!" Ond ni oddef y gofod ond i mi prin eu crybwyll, a gadael allan lawer o oedfaon y caraswn eu cael drosodd eto. Y mae myned dros yr oedfaon yma wedi rhoi gwledd werthfawr i fy meddwl, a chodi hiraeth am lawer o'r brodyr a'r tadau "sydd wedi cario'r dydd." Na feddylier ychwaith mai ar eu huchelfanau y buont hwythau bob tro; clywais hwythau yn ei chael yn galed—galed iawn; fel na thra dyrchefid hwynt, ac na thra ofidied ninau mewn oedfaon cyffelyb.

---

## LLYTHYR TAD AT EI FAB.

*Fy Anwyl Hugh:*

Yr oedd yn sirioli calon dy fam a minau yn fawr glywed oddiwrthyt, dy fod yn gysurus yn dy le. Cefais lythyr oddiwrth dy feistr, ac y mae yn wir dda genyf ei fod yntau yn dy hoffi dithau. Anfonodd y gweinidog hefyd air i ddyweyd dy fod yn gyson gyda'th gapel. Y mae hyn yn dawelwch mawr i ni. Nid ydym heb deimlo yn chwith ar dy ol. Bydd dy fam yn son llawer am danat, ac yn dangos dy lythyrau i dy hen gwmni a'r cymydogion. Rhyfedd mor dawel yw'r aelwyd heb dy chwiorydd a thithau. Nid oes genym yn awr i'n pleseru, ond darllen eich llythyrau. Neithiwr yr oedd y tri llythyr olaf a ddaeth oddiyna

ar y bwrdd, yn cael eu hail ddarllen cyn "cadw dyledswydd," ac yr oeddym yn diolch i'r Arglwydd dros ein bachgen Hugh, ac yn dymuno am iddo gael gras i'w gynal hyd ei fedd.

Nid wyf yn cofio a ddywedais wrthyt o'r blaen y modd y cawsom di megys o safn marwolaeth, pan yn bedwar-mis-ar-ddeg oed; os naddo, dyma fi yn dyweyd i ti yn awr. Yr oeddet wedi bod am wythnosau yn sal, a ninau yn dy wylio bob yn ail nos a dydd. Deuai cymydogion caredig atom i'n helpu, ond yr oedd llygaid un o honom ein dau arnat o hyd. Un noson galwyd y meddyg i mewn am unarddeg o'r gloch, gan dy fod yn sal iawn, ac yn llonydd gan wendid ar lin dy fam. Edrychodd y meddyg arnat yn syn, a throai olwg deimladwy atom ni, ac wrth i mi ei anfon at y drws, dywedai yn brudd wrthyf, "Gellwch ddysgwyl y cyfnewidiad unrhyw awr yn y boreu." Aethum i'm hystafell, a cheisiais ddyweyd ar fy ngliniau, "Nid fy ewyllys i, ond yr eiddot ti a wneler." Gallaf ddyweyd yn ddidwyll, er dy fod yn unig fab, na fuaswn byth yn dymuno i ti wella i droi allan yn fachgen drwg. Ofnwn hyny. Ceisiwn drachefn a thrachefn am i ti gael gras i droi yn fachgen da, os dewisai ein Tad Nefol i ti gael byw. Mi gofiaf byth fy nheimlad pan y galwodd dy fam fi ati yn sydyn prydnawn dranoeth, wedi gweled gwen ar dy wefusau, fel arwydd dy fod yn ei hadnabod. Syrthiai aml ddeigryn dros ei grudd, a rhoddai gusan ar ol cusan i ti. Rhoddais inau gusan i ti pan y cefais gyfle ganddi, a theimlais awydd o hyny allan dy gyflwyno yn fwy llwyr i'r Arglwydd. Byddaf yn meddwl llawer am y tro yma, ac yn dysgwyl yn gryf fod fy ngweddi wedi ei hateb.

Carwn ddwyn ar gof i ti ychydig o gyngorion a roddasom i ti o'r blaen. Bydd yn *onest*—nid yn unig gochel gymeryd gwerth dimai o eiddo dy feistr, ond bydd mor ofalus am ei bethau, a'i amser, a phe ti fuasai pia hwy; bydd yn *eirwir*—cydymaith agos i leidr ydyw dyn celwyddog; bydd yn *brydlon*—gofala am wneyd pob peth i'r fynyd, ni ddeui byth yn "*man of business*" da heb hyn; bydd yn *gynil*—gofala am y geiniog, ac felly gofali am symiau mwy; bydd yn *hael*—hyny yw, cyfrana yn ol dy allu, fel na byddo dy gynildeb yn dy wneyd yn gybydd; bydd yn *fonedd-igaidd*—yn hawddgar dy dymer, ac yn ofalus rhag amcanu brifo teimlad neb; bydd yn *ddoeth*—gwna'r defnydd goreu o dy synwyr yn mhob amgylchiad; a bydd yn *bur i'th grefydd*—dyma fydd yn goron y cwbl.

Meddwl am y pethau uchod, a cheisia ddod i fyny a hwy. Ni wnei felly godi gwrid i wyneb, nac achosi cur yn nghalon tad a mam. Dyma ein dymuniad i ti, a'n gweddi drosot.

Nid oes yma ddim newydd neillduol. Anfona dy fam amryw bethau i ti yn fuan. Y mae hi yn bur iach, ac yn cydgofio a mi yn wresog atat.

Ydwyf, anwyl Hugh, DY SERCHOG DAD.

---

## LLYTHYR MAM AT EI MERCH.

*Anwyl Gwen:*

Byddaf yn ofni, Gwen bach, yn aml, dy fod wedi anghofio yr hen fam a'th fagodd. Yr wyf yn anfon atat i ddweyd fy mod, trwy ryfedd diriondeb Duw, yn fyw eto yn yr hen fwthyn y cefaist di dy eni a'th fagu ynddo. Os wyt ti yn gallu treulio wythnos

heb feddwl am dy fam, mae pob peth yn dy ddwyn di i'm cof bob awr. Mae dy hen gryd, a'th gadair fach, a llawer o'th deganau yma eto. Yr wyf yn awr yn eistedd yn y gadair yr eisteddwn arni pan oeddit ti ar fy nglin yn faban wyth mis oed, y noson y claddwyd dy dad, ac mi gofiaf byth y teimlad oedd ynwyf pan edrychwn ar dy lygaid duon llon, a'th wên ddiniwaid, fel pe buasit yn deall fy ngalar, ac yn addaw bod i mi yn gwmni a chymorth. Trwm iawn oedd genyf dy glywed yn galw "Dada, dada," pan oedd yr un anwyl hwnw yn ei fedd; ond penderfynwn, hyd y gallwn, wneyd rhan tad a mam i ti. Mi wnes hyny yn ol fy amgylchiadau, ti wyddost yn burion. Gwyddost mor galed oedd hi arnaf wrth roi ysgol i ti, ond er caleted oedd hi, ni chefaist dy gadw o honi am ddiwrnod, o eisiau dim. Gwyddost mor anhawdd oedd genyf dy ollwng oddi cartref, ond rhag rhwystro dy fywoliaeth, cefaist fyned. Meddyliais mai tori fy nghalon a wnawn pan y'th welais yn y cerbyd, a hwnw yn y man yn myned o'r golwg. Eisteddais o dan y llwyn drain i wylo yn ngolwg yr hen gartref, a meddyliais na fedrwn byth fyned i'r ty ar ol i fy anwyl Gwen fyned i ffordd. Nis gallaf ddywedyd byth mor bryderus oeddwn am glywed oddi wrthyt, ac mor llawen oedd genyf gael y llythyr cyntaf oddi wrthyt i hysbysu i ti gyrhaedd yn ddiogel, a llwyddo i gael y lle. Gelwais gyda hon a'r llall i ddywedyd y newydd, fel pe buasai pawb yn pryderu fel finau am danat. Mae dy lythyrau i gyd genyf eto, ond y maent yn myned yn anamlach, a'r chwe mis diweddaf, nid wyf wedi clywed gair oddi wrthyt, ond fel y mae eraill yn anfon yn ddiarwybod i ti. O! Gwen fach, beth a wnaeth dy

fam i ti, fel yr wyt wedi myned mor ddyeithr iddi? Wyt ti ddim yn cofio fy mod yn hen ac yn weddw, yn dlawd ac amddifad iawn? Wyt ti wedi anghofio yr hyn a ddywedaist wrthyf ganoedd o weithiau, y gofalet am danaf wedi myned yn fawr? Mor siomedig wyt wedi troi! Nid wyf yn gallu gwneyd dim bron, ond meddwl am danat nos a dydd.

Bum heddyw wrth fedd dy dad, ac y mae arnaf hiraeth am gael myned ato. Anfon ataf unwaith eto, dim ond unwaith, fy ngeneth anwyl! Mae yn ddrwg genyf glywed dy fod wedi gadael dy gapel, a'th fod yn rhodiana ar y Sabbothau, a'th fod wedi myned yn eneth rodresgar, falch, a gwamal. Os felly y parhei, mae fy hen Feibl coch i yn dywedyd mai diwedd truenus a ddaw i ti. Ni pheidiaf a gweddio drosot, a dymunaf arnat tithau weddio hefyd. Yn awr, rhaid i mi derfynu, gan erfyn arnat, anwyl Gwen, anfon gair ataf. Cofia pwy bynag sydd wedi myned a'th serch, mai fi ydyw dy fam eto.

Ydwyf, Anwyl Gwen, DY FAM WEDDW.

---

## BEIRNIADAETH YSGRYTHYROL

*Mynediad yr Enaid i Fyd Arall.*—Defnyddir llawer o ymadroddion hynod o briodol yn yr Ysgrythyrau ar yr amgylchiad difrifol sydd o flaen pawb, sef mynediad yr enaid o'r corph i'r byd ysbrydol. Dywedir am Rahel, "Darfu hefyd, wrth ymadael o'i henaid hi" (Gen. 35 : 18). Dysga hynyna fod yr enaid yn wahanol i'r corph, ac fod y rhan ysbrydol yma yn symud i ryw sefyllfa arall ar derfyn y bywyd daearol. Ac am y rhagrithiwr, dywed Job, "Pan dyno Duw ei enaid

ef allan" (Job 27:8). A dyma eiriau y Pregethwr, "Ac y dychwel yr ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef" (Preg. 12:7). Tystia Crist yn bendant, "Nid allant ladd yr enaid" (Mat. 10:28). Dyna ddigon i ddangos nad yw yr enaid i falurio gyda y corph. Nis gall y *materialists* mwyaf beiddgar roi esboniad ar farwolaeth dyn. Y Beibl yn unig sydd yn rhoi llewyrch ar hyn. Y mae pawb sydd wedi bod yn gwylio rhai yn eu horiau olaf, wedi cael prawfion digonol y gall rhai fod yn ymwybodol i'r fynyd olaf, fel y mae yn eithaf teg i ni gredu y gall y rhan ysbrydol fyw pan y mae y galon yn marw, a'r anadl yn diffodd. Ceir yn nglyn a marwolaeth rhai ryw fflachiadau o fyd arall. Felly y cawsom ni ar adeg marwolaeth fy anwyl ferch gyntafanedig Mary, yr hon a fu farw yn Homestead Park, ger Pittsburgh, am haner awr wedi wyth o'r gloch nos Iau, Mai 7, 1874, yn 18 mlwydd, 10 mis, a 28 diwrnod oed. Yn ei munydau olaf, adroddai yr hen benill Cymraeg cyntaf a ddysgwyd iddi yn Birkenhead:

"Yn y dyfroedd mawr a'r tonau," &c.

Dyoddefai gryn boenau, a dywedai yn ymbilgar gyda thafod bloesg, "Take me, Jesus, do take me." Ar hyn, am ryw fynyd, disgynai goleuni tyner a dysglaer iawn dros ei holl wynebpryd, cyfodai ei golwg i fyny, a chyda gwên nefolaidd bu farw. Nid anghofiaf fi, ac amryw o'r teulu, a'r chwiorydd parchus a weinyddai arni, byth mo'r goleuni rhyfedd hwnw. Nid oedd yn oleuni haul na lleuad, na goleuni nwy nac olew—nid oedd ond un llusern yn oleu, a hono yn bell oddiwrthi hi; ac ni thywynai y goleuni yn un man ond ar ei gwynebpryd hi. Yr wyf wedi ceisio am esboniad ar

y ffaith anwadadwy yma gan feddygon, athronwyr, a duwinyddion yn y wlad hon a'r Hen Wlad, ac nid wyf wedi cael dim eglurhad boddhaol gan neb. Ceisiai un ddyweyd mai effaith *phosphorus* ydoedd, yn debygol o'r ymenydd; ond nid wyf wedi cael yr un fferyllydd i gydsynio ag ef. A dywed Liebig nad yw yr ymenydd yn cynwys *phosphorus*, ond *phosphoric acid* yn unig, yr hwn nad yw yn tywynu o gwbl. Beth ydoedd y goleuni a welsom? Rhaid i mi gredu mai fflachiad o oleuni byd arall ydoedd, fel yr oedd ei henaid ar fyned i mewn i'r gogoniant. Cofnoda Dr. Delitzsch yn ei lyfr rhagorol ar "Biblical Psychology," am ffaith gyffelyb ar farwolaeth bachgen pump oed (Gwel tudal. 472—3).

*Sefyllfa Wynfydedig y Meirw Duwiol.*—Defnyddir amryw eiriau i osod allan sefyllfa y meirw—*Sheol*, *Hades*, *Gehenna*, *Tartarus* a Pharadwys. Ystyr *Sheol* yw gofyn, hawlio, diwall, a chyfeiria at le y meirw ymadawedig, da neu ddrwg. Ystyr *Hades* yw anweledig, a chyfeiria at fyd anweledig yr ysbrydion, lle yr ä y da a'r drwg, ac felly yn gyfystyr a *Sheol*. Ystyr lythyrenol *Gehenna* yw dyffryn Hinnom, lle y llosgid pob ysgarthion, a phethau ffiaidd, a defnyddir y gair yn ffigyrol am y gradd eithaf o erwinder a gwarth a ddyoddefa y drygionus yn y byd ysbrydol. Unwaith yn unig y cyfeirir at *Tartarus*, yn 2 Petr 2:4; gair cenedlig am uffern fel cartref yr angylion syrthiedig. Defnyddir y gair Paradwys deirgwaith (Luc 23: 43; 2 Cor. 12:4; Dat. 2:7), a golyga yn llythyrenol le wedi ei amgau er mwyniant, gan gyfeirio at Ardd Eden, a defnyddir ef yn ffigyrol am gartref gwynfydedig angylion a saint. Felly nid yw yr enwau yna yn

rhoi llawer o oleuni ar y sefyllfa ddyfodol, eto cadarnhant ddau wirionedd pwysig: 1. Fod ysbrydion ymadawedig y ddaear yn bodoli mewn byd arall; 2. Fod rhai mewn sefyllfa o boen a gwarth, ac eraill mewn mwynhad a dedwyddwch yn y byd ysbrydol.

Ond y mae yr hyn a ddywed Iesu Grist yn Luc 23: 43—"Heddyw y byddi gyda mi yn mharadwys;" a'r hyn a ddywed Paul yn Phil. 1 : 23—"Gan fod genyf chwant i'm datod, ac i fod gyda Christ," yn taflu goleuni pellach ar wynfyd y saint ymadawedig. Y mae y ddwy adnod yn sicrhau y byddant "gyda Christ." Dyma wirionedd diamheuol, fod y duwiolion a aethant oddiwrthym ni, "gyda" Iesu Grist. Dyma hanfod y nefoedd, ac y mae yn ddigon o dystiolaeth am ddiogelwch y saint yn y nef. Ychydig a fedrwn ni ddirnad a dal o oleuni ar y sefyllfa ddyfodol yn awr, ond y mae cael sicrwydd fod y credinwyr "gyda Christ" yn y byd dyeithr sydd o'n blaen, yn wirionedd annhraethol werthfawr. Y mae "y rhai a hunasant yn yr Iesu," neu trwy yr Iesu, fel y myn Alford ddarllen yr ymadrodd, mewn sefyllfa o ymwybodolrwydd. Nid ydyw Crist mewn sefyllfa o anymwybodolrwydd, a byddai yn annaturiol i dybio fod y rhai sydd gydag ef mewn sefyllfa felly. Pa gysur i'r lleidr ar y groes a fuasai i Iesu Grist addaw iddo gael bod gydag ef i gysgu yn mharadwys, tra y byddai Crist ei hun yn mwynhau y bywyd uchaf? Na, y mae y dystiolaeth yma yn gosod saint y nef uwchlaw amheuaeth mewn sefyllfa o ymwybodolrwydd trwyadl. Awgrymir yn mhellach gan eu bod gyda Christ, eu bod mewn sefyllfa o berffaith ddiogelwch. Ni all dim niwed ddygwydd iddynt, gan eu bod gydag ef sydd uwchlaw pob gelyn a gofid. Hef-

yd, y mae bod gyda Christ yn cynwys bod mewn sefyllfa uwch o ddedwyddwch na chyda'r duwiolion ar y ddaear. Dywed Paul, "Llawer iawn gwell ydyw." Dywed hefyd fod y credinwyr ar y ddaear tra yn gartrefol yn y corph, eu "bod oddi cartref oddiwrth yr Arglwydd;" ond wedi myned "oddi cartref o'r corph," y byddant yn "cartrefu gyda'r Arglwydd." Felly y mae y saint ymadawedig yn ymgartrefu yn nghwmni yr Iesu. Ac y mae Ioan yn taflu goleuni pellach ar hyn: "Nid amlygwyd eto beth a fyddwn; eithr ni a wyddom pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegid ni a gawn ei weled ef megys ag y mae" (1 Ioan 3 : 2). Dywed Arnold mai mwy cywir fyddai y cyfieithiad canlynol (ac y mae ymyl y ddalen yn y cyfieithiad diwygiedig yn caniatau *it* yn lle *he*): "*A phe yr amlygid hyn*, nyni a wyddom y byddwn gyffelyb iddo, oblegid ni a gawn ei weled ef megys ag y mae." Pe y deuai rhywun yn ol, neu i lawr atom, ni fyddai yr hysbysiaeth i ni ddim pellach yn awr na hyn, y byddwn gyffelyb i Iesu Grist, oblegid ni a gawn ei weled megys ag y mae. Golyga hyn y byddwn gyffelyb iddo, oblegid mewn trefn i'w weled fel ag y mae, *rhaid* i ni fod yn debyg iddo; neu y byddwn gyffelyb iddo, oblegid y gwna yr olwg arno fel ag y mae, *ein cyfnewid ni i'w ddelw brydferth ef.* Gan nad pa un o'r meddyliau yna a gymerir, y mae Ioan yn dysgu yn amlwg pan yr awn i bresenoldeb Iesu Grist, y byddwn yn berffaith debyg iddo. Ac y mae Ioan yn y Datguddiad yn cael gorchymyn i ysgrifenu gwir ionedd bendigedig arall ar y mater hwn—"Gwyn eu byd y meirw y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd, o hyn allan, medd yr Ysbryd, fel y gorphwysont

oddiwrth eu llafur, a'u gweithredoedd sydd yn eu canlyn hwynt" (Dat. 14:13). Dengys hyn fod y rhai sydd wedi marw yn yr Arglwydd, er nad ydynt yn y sefyllfa gyflawn ac uwchaf o wynfyd hyd ar ol yr adgyfodiad, yn awr mewn sefyllfa rydd oddiwrth bechod, rhyfel a lludded, yr hyn sydd yn wynfyd annhraethol. Y mae yr oll yn troi, fel y sylwa Martensen ar ein perthynas â Christ. Heb Grist nid oes dim gwynfyd. Ond y mae y rhai sydd wedi ymorphwys arno ef am fywyd, i gael ymgartrefu gydag ef. Y mae hyn yn ddefnydd cysur mawr i'r credinwyr wrth feddwl am yr hyn sydd yn eu haros hwy eu hunain, ac wrth feddwl am y rhai cu a duwiol y maent wedi colli eu cymdeithas ar y ddaear.

*Darganfyddiadau Diweddar yn Cadarnhau Hanesiaeth y Beibl.*—Y mae llyfrau Jonah a Nahum, a rhanau o Esaiah a'r Croniclau, ac amryw ranau eraill o'r Beibl, wedi cael eu cadarnhau yn fawr y blynyddoedd a aethant heibio. Rhyw ddeugain mlynedd yn ol ni wyddid yn mha le y safai Ninefeh, ac yr oedd ambell i anffyddiwr yn gwadu ei bodolaeth, ac mewn hwyl yn gwneyd gwawd o'r Beibl a gyfeiriai ati. Cyhoeddodd Volney lyfr ar y "*Ruins*," gan gyfeirio at drefydd a dinasoedd dadfeiledig y soniai y Beibl am danynt, a defnyddiai hyn fel gwrthddadl yn erbyn gwirionedd y Beibl. Bu y llyfr yma yn boblogaidd iawn am dymor, ond codai wrid i wyneb yr anffyddiwr mwyaf haerllug i'w glywed yn cael ei ddarllen yn awr. Aeth Layard a'i wyr i chwilio am Ninefeh. Safasant yn nghanol porfeydd creaduriaid gwylltion, a chloddiasant o dan y lleoedd droedid gan ddynion ffyrnig, i lawr nes y caed allan feini mawrion, ac ar-

nynt hanes y Ninefeaid am naw can' mlynedd, ac enwau Senacherib eu brenin, a Hezeciah brenin Judah, yn nglyn a'r deyrnged fu raid i'r olaf dalu i'r cyntaf. Gosododd darganfyddiadau Layard, a George Smith wedi hyny, daw bythol ar yr anffyddwyr yn y cyfeiriad yma. Bu yr anffyddywr yn meddwl eu bod wedi cael llwyr fuddugoliaeth ar y Beibl trwy dyrau a geirluniau yr Aipht a'r dwyreinfyd. Ceisiai Bailly, Voltaire, a Volney, i'r byd gredu fod oes y celfau a'r gwyddorau yn yr India a'r Aipht, o ddeg i ugain mil o flynyddoedd cyn dyddiau Moses. Hiraethent a sychedent am y dydd y deuai rhyw un i fedru darllen y geirluniau, pan y prophwydent y llwyr ddymchwelid y Beibl. Ond daeth Young, Champoleon, a Smith, i ddeall a darllen y rhai hyn, a chaed eu bod yn cadarnhau, yn lle gwrthddyweyd y Beibl. Honid fod y temlau a ddarganfyddwyd yn Esneh a Denderah ryw filoedd o flynyddoedd cyn dechreu hanesiaeth y Beibl. Ond bu y "*Rosetta Stone*," a'i geirluniau, yn agoriad i wneyd allan yr arwyddluniau a gaed yn y temlau hyny, a phrofa y rhai hyn yn y modd mwyaf diamheuol nad ydynt yn dyddio yn mhellach na'r cyfnod Cristionogol ac y mae un ryw gant a haner o flynyddoedd ar ol hyny. Gwneir ymchwiliadau pellach, a cheir darganfyddiadau gwerthfawr yn barhaus, yn mysg y rhai gellir nodi yr hyn a gaed ar fur allanol teml Karnak, yn Thebes, yn cadarnhau yr hyn a fynegir yn 1 Bren. 14: 25; a 2 Chron. 12: 2, lle y cawn i Sisac, brenin yr Aipht, ddyfod i fyny yn erbyn Jerusalem gyda byddin gref, a'i chymeryd hi a dinasoedd caerog eraill, ac iddo ddychwelyd gyda thrysorau ty yr Arglwydd, a thy y brenin, a llawer o garcharorion

rhyfel. Cafodd y ddinas yma ei dinystro rai canoedd cyn genedigaeth Iesu Grist, ac eto dyma gofnodion wedi eu cadw yn dda yn cael eu darganfod yn yr oes hon, ac yn y rhai hyn ceir enwau llywodraeth Judah a Jerusalem, Hebron, Megiddo, a lleoedd eraill gymerwyd gan Sisac. Ceir darlun o hono yn dychwelyd gyda ei garcharorion, a hawdd gwneyd allan mai Iuddewon oeddynt. Y mae yr hyn a gofnodir yn Gen. 47, am gyflwyniad Jacob a'i deulu i Pharaoh, wedi cael ei ddarlunio gan hen arlunydd Aiphtaidd. Y mae copi o hwnw ger fy mron yn awr. Cyflwynir y cwmni gan ddau Aiphtiwr uchelradd. Gelwir y cyntaf Notropth, yr hwn ydoedd debygol yn enw ar Joseph; a'r ail Poti, neu Potiphera, (un ymroddedig i Phra, neu yr haul), yr hwn ydoedd tad-yn-nghyfraith Joseph. Dalia Joseph yn ei law ddehau lech, trwy yr hon yr hysbysa pwy yw y dyfodiaid hyn. Yna cawn ddarlun o Jacob yn plygu yn barchus, ac yn cyflwyno gafrewig fel rhodd i'r teyrn. Ar ei ol ceua un o feibion Jacob, yr hwn a gyflwyna lwdn-ewig yn anrheg; yna cawn bedwar o wrywod wedi ymwisgo yn hardd; yna cawn ddarlun o asyn, ac ar ei gefn gawell yn yr hwn yr oedd dau blentyn, ("rhai bach," Gen. 46 : 5); wedi hyny ceir darlun o lanc tywysogaidd gyda gwaewffon yn ei law, sef Manasseh, yn debygol; ac yna dilyna pedair o ferched, (eu "gwragedd,") gwych-drwsiadus; ac ar ol hyny asyn arall, a gweision. Y mae y darluniau a gaed yn meddau Thebes yn cadarnhau rhanau helaeth o hanesiaeth y Beibl, ac fel yr eir yn mlaen gyda mwy o fanylder yn yr ymchwiliadau gwerthfawr hyn, ceir rhagor o brawfion eto o du y Beibl.

*Cwmwl o Dystion.*—Yn mha ystyr y defnyddia yr

Apostol, yn Heb. 12: 1, y gair "tystion?" Ai fel *edrychwyr*, neu fel *tystiolaethwyr?* Yn ol y syniad mwyaf cyffredin, fel *edrychwyr*. Dyma fel yr esbonia Barnes y gair. Ac fel hyn y dywed Dr. Wm. Rees: "Llenwid y gorsafau o amgylch y cwrs-gan dystion awyddus i weled y rhedegwyr yn ymryson am y gamp." Felly hefyd "yn yr yrfa ysbrydol, y mae lluaws mawr o dystion yn edrych arnom." Ond dadleua R. E. Bartlett, yn ei ysgrif yn yr *Expositor*, Cyf. 5, tu dal. 149, fod hyn yn amheus iawn, ac mai ystyr "tystion" yn y fan hyn, fel yn mhob man arall o'r Testament Newydd, yw, *rhai yn dwyn tystiolaeth*. Dyma ystyr cyson *martus*, tra y mae y gair *theatis* yn cael ei arfer am edrychwr. Tuedda ef i gredu fod y rhai y sonir am danynt yn y benod flaenorol yn cael eu gosod o'n hamgylch fel tystion o nerth ffydd i gynal rhai ar yrfa crefydd, gan iddynt hwy redeg yr yrfa i'r pen, a gorchfygu, tystiant y gallwn ninau, trwy yr unrhyw nerth, orchfygu. Ond ymddengys i mi fod cau allan y syniad o *edrychwyr* yn dyfetha prydferthwch y gydmariaeth o yrfa. Os dwyn tystiolaeth sydd yma yn unig, onid mwy priodol fuasai y gydmariaeth o brawf mewn llys barn? Hefyd y mae rhyw ystyr i'r gydmariaeth o "gwmwl"—llu mawr, "wedi ei osod o'n hamgylch"—fel yr oedd yr edrychwyr yn y campau. Onid ellid cyfuno y ddau ystyr, o edrychwyr a thystiolaethwyr? Felly y dysgai yr hen Buritan David Dickson, M. A., yn ei esboniad gyhoeddwyd yn 1649, fod yr hen saint yn tystio am y ffordd oreu i ni fyned yn mlaen yn ein gyrfa ysbrydol, a'u bod hefyd yn edrych pa fodd yr ymddygwn ni. Dyma hefyd farn Alford—eu bod yn tystio am ffyddlondeb Duw

i'w bobl, a'u bod yn gwylio ein hymdrech ninau dros y ffydd. Felly y mae y cyfeiriad at y benod flaenorol yn ein rhwymo i gymeryd i mewn y syniad o dystiolaethwyr; a chyfanrwydd y gydmariaeth yn ein rhwymo i gymeryd hefyd y syniad o edrychwyr. Y mae mwy o rym a bywiogrwydd yn yr adnod wrth gymeryd i mewn y ddau, a pheidio colli er dim yr hen syniad o edrychwyr, gan fod, fel y dywed Fausset, yr ystyriaeth fod y rhai a fuont eu hunain unwaith ar yr yrfa, ac a enillasant y gamp, yn edrych arnom ni, yn gymellydd i ni ymroi gydag egni didor rhag colli y gamp.

*Athrawiaeth Cosbedigaeth Dragywyddol.*—Nid oes un athrawiaeth, y mae yn debyg, wedi cael mwy o ymdriniaeth arni yn Lloegr ac America na hon, y blynyddoedd diweddaf. Teimlai llawer, fel fy hunan, awydd i wneyd ymchwiliad teg a chyflawn i'r athrawiaeth ddifrifol hon, fel y dilynasom yr holl ymdrafod â hi a ddaeth o fewn ein cyrhaedd. Fel mater o deimlad, buasai yn dda gan bob dyn caredig, yn ol y wybodaeth bresenol sydd genym, gael allan fod rhyw obaith i'r trueiniaid sydd wedi esgeuluso eu hiachawdwriaeth yn y fuchedd hon, yn y sefyllfa ddyfodol. Ond yr oeddym yn ymwybodol nad teimlad neb o honom ni oedd i fod yn sylfaen gobaith, ond tystiolaeth y datguddiad y mae Duw wedi ei roddi i ni yn ei Air. Ni wna dymuniad tyner, na dychymyg barddonol neb newid dim ar y mater. Felly rhaid i ni ymddibynu yn hollol ar yr hyn y mae Duw yn ei ddweyd ar y mater, a chan nad pa mor groes i fy nheimlad presenol y gall y datguddiad fod, nid wyf yn meddwl y gallaf fi fod yn fwy cywir a charedig na Duw. Er gwneyd allan beth yw yr hyn a ddysga y Beibl ar yr athraw-

iaeth hon, yn enwedig y Testament Newydd, dylid darllen yr ysgrythyrau canlynol a'u cyffelyb: Mat. 25: 46; Marc 9: 48; Luc 12: 47, 48; 2 Thes. 1: 9; Heb. 10: 26, 27; Dat. 14: 10, 11. Y mae tair ffaith o bwys i ni gofio wrth ymdrin â'r athrawiaeth hon: 1. Fod y Phariseaid yn amser Crist yn credu mewn cosbedigaeth dragywyddol. 2. Mai dyma ydoedd syniad cyffredin y tadau Cristionogol hyd y chweched ganrif. 3. Fod y rhan fwyaf o dduwinyddion yr oes hon yn credu mewn poenedigaeth geryddol neu gosbedigaethol, derfynol neu annherfynol yn y byd dyfodol. Gwnai cofio y ffaith olaf yma atal rhyfyg gwawdus y rhai a dybiant nad oes uffern. Nis gall neb a dderbynia y Testament Newydd fel Gair Duw, wadu nad yw pechaduriaid annychweledig yn y byd hwn yn gorfod dyoddef am eu pechodau yn y byd ysbrydol. Gwyr rhai beth yw bod wythnosau mewn poenau angerddol ar y ddaear; ond pe y cyfyngid poenau y byd dyfodol i ychydig wythnosau, ni ddylid siarad yn ysgafn a chellweirus am y fath ddyfodol. Ond am natur a pharhad y gosbedigaeth, gellir rhanu y gwahanol olygiadau i bedwar dosbarth, beth bynag:

1. Y rhai a gredant fod yr athrawiaeth yn cael ei gadael yn anmhenderfynol. Honir, gan fod y geiriau *aion* ac *aionios*—"tragywyddol"—yn cael eu defnyddio am amser terfynol, y gallant fod felly yn nglyn â chosbedigaeth yr annuwiol; ac er fod Iesu Grist, yn Mat. xxv., yn rhoi darluniadau cyffrous o gosb "y gwas anfuddiol," a'r rhai a fyddant ar "y llaw aswy," eto fod yr hyn a ddywed yn Luc xv., am "y ddafad a gollesid," "y darn arian," a'r "mab afradlon," yn codi gobaith y gall geisio y colledig, a derbyn yr afradlon

edifeiriol yn y byd dyfodol. Modd bynag, yn ol eu barn hwy, gadewir yr athrawiaeth yn hollol anmhenderfynol.

2. Y rhai a gredant mewn difodiant yr annuwiol. Cymer y rhai hyn yr ymadroddion "marwolaeth," "dinystr," "dyfetha," a'u cyffelyb, yn eu hystyr mwyaf llythyrenol. Credant yn marwolaeth yr enaid, yn gystal a'r corph. Ond y mae y syniad yma, a dweyd y lleiaf, yn groes i drefn gyffredin Duw. Nid oes sail i gredu ei fod wedi difodi dim a greodd. Ac y mae y darluniad a roddir o'r gosb yn anghyson hollol a'r syniad o ddifodiant: "Lle nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd." Y mae i'r dyb hon lawer o bleidwyr yn yr oes hon, ond efallai mai un o'r rhai penaf yw y Parch. E. White, o Lundain. Yn ol barn sylwedydd craff, ychydig o gynydd y mae y blaid yma wedi ei wneyd y tair blynedd diweddaf.

3. Y rhai a gredant mewn adferiad. Ceisiant ddadlu nad yw *aionios* yn golygu amser diderfyn, ond mai *antiliwtitos* sydd yn golygu hyny; ac nad yw y gair hwnw yn cael ei arfer gan Grist na'r apostolion, ond y gair arall, yr hwn yr honant sydd yn golygu amser terfynol. Mynant hefyd fod y geiriau hyny yn dysgu adferiad cyffredinol: "Oblegid megys yn Adda y mae pawb yn meirw, felly hefyd yn Nghrist y bywheir pawb (1 Cor. 15: 22); gan gymeryd y marw a'r bywhau yn yr ystyr eangaf. Ond yn sicr y mae hyn yn ymddangos i mi yn myned yn mhell o rediad rhesymiad yr Apostol, gan mai ymdrin a'r athrawiaeth o adgyfodiad y corph y mae yn y rhan yma. Hefyd y maent yn gweled athrawiaeth adferiad yn y geiriau hyny, "Ac (wedi iddo wneuthur heddwch trwy waed

ei groes ef), trwyddo ef gymodi pob peth ag ef ei hun, trwyddo ef, meddaf, pa un bynag ai pethau ar y ddaear, ai pethau yn y nefoedd." (Col. 1 : 20.) Nid oes yma un awgrym am gymodi yr annuwiol yn uffern â Duw. Ceisir codi yr athrawiaeth o dir esboniadaeth geiriau, i dir moeseg a duwinyddiaeth athronyddol. Dadleuir nad yw barnedigaethau Duw ddim yn gosbawl, ond yn geryddol, er puredigaeth a gwellâd. Ceisir rhesymu y byddai cosbedigaeth dragywyddol yn milwrio yn erbyn cyfiawnder dwyfol. Beth yw cyfiawnder? Gwneyd tuag at arall yr hyn sydd unol â'r gyfraith. Y mae Duw wedi gwneyd dyn yn fôd moesol, ac y mae wedi rhoddi cyfraith foesol i ddyn. Pa ddyn a all gyhoeddi fod cosbedigaeth dragywyddol yn anghyson â chyfraith foesol? Onid ydyw y dyn a wna hyn yn gosod ei hun yn farnwr Duw? A ydyw yn anghyson â chyfiawnder i Dduw ymddwyn yn wahanol at y drwg, rhagor y da? Ceisir dadlu fod yn anghyfiawn cosbi dyn yn dragywyddol, gan nad oedd ganddo ddewisiad yn yr amgylchiadau y daeth i'r byd. Os oes rhyw rym yn y ddadl yma, gall fod mor briodol yn erbyn y gosb feraf, fel yr un hwyaf. Felly gosodid y dynion gwaethaf yn rhydd oddiwrth unrhyw gosb am eu pechodau. Ceisia eraill ddadlu y byddai cosb dragywyddol yn ormodol. Nid gweddus iawn i droseddwyr y gyfraith fyned uwchlaw gosodwr y gyfraith, i farnu meithder y gosb. Eto, er myned mor feiddgar a hyn, nis gallant gydag un sicrwydd ddyweyd faint a ddylai y gosb am bechod fod—gall ymestyn i ganrifoedd, neu filoedd o flynyddoedd, o ran dim a allant ddyweyd. Pa fodd y gallant ymgymeryd a dyweyd na ddylai fod yn dragwyddol? Os oes rhyw bechod

yn haeddu cosb, onid yw pob pechod yn haeddu cosb? Pwy all ddyweyd hyd y gosb, heb allu dyweyd nifer y troseddau, ac amlder y blynyddoedd, neu y cyfnodau y dylid dyoddef am bob un? Hefyd y mae ystyriaeth arall y dylid ei chymeryd i mewn yn nglyn a phechod, heblaw amlder ac echryslonrwydd pechod, sef y cyflwr o bechod. Y mae pob pechadur anedifeiriol mewn sefyllfa o ymwahaniad oddiwrth Duw, ffynon purdeb a dedwyddwch. Tra yn y cyflwr yma y mae yn rhwym o ychwanegu pechod at bechod. Nis gall newid ei natur bechadurus ei hun. Felly y mae yn rhaid nid yn unig gosbi y pechodau blaenorol yn ddigonol, neu eu maddeu, a chael rhyw allu tu allan i'r dyn ei hunan i newid ei gyflwr. Pwy a all wneyd hyn? Neb ond Duw. Pa fodd y tybir y gwna Duw? Myn rhai mai trwy ei allu penarglwyddiaethol. Pa sicrwydd sydd am hyn? Barna eraill mai trwy roi ail brawf i ddyn. Os felly, pa sicrwydd sydd na wrthoda dyn y cynygion a gâ yn y byd nesaf, fel y gwnaeth y rhai a gafodd yn y byd hwn. Neu a ellir meddwl y bydd Duw yn fwy grasol, a dyn yn fwy ufudd yn y byd nesaf nag yn y byd hwn? Yn sicr y mae yma anbawsderau mawrion, a dyweyd y lleiaf. Ceisia llawer godi gobaith am adferiad oddiwrth ddaioni a haelfrydedd natur Duw. Ond y mae y rhai yma yn ymddangos i mi yn gochel y syniad fod Duw yn dda yn ei gyfiawnder, yn gystal ag yn ei drugaredd. Gwthir cyfiawnder i derfynau creulondeb, a denir a thrugaredd dosturiol i'r golwg yn unig. Ond y mae hyn yn effeithio yn fwy ar y teimlad nag ar y rheswm. Y mae Duw yn rhwym o fod yn gyfiawn at bawb, y drwg a'r da, at yr angel syrthiedig, yn gystal

a'r un a ymlynodd wrth ei burdeb; at y pechadur cyndyn a'r un edifeiriol. Ond a ydyw yn rhwym o fod yn drugarog wrth bawb? Os felly, pa le y mae ei ewyllys da? Y mae hyny wedi ei gau allan gan ddeddf rhwymedigaeth. Ceisir gan eraill godi dysgwyliad am adferiad ar sail amcan Duw yn creu. Ei fod wedi creu dyn er ei wneyd yn ddedwydd. Ond y mae Duw ei hun yn dyweyd mai er ei ogoniant y creodd, y lluniodd, ac y gwnaeth ddyn. A chofier mai nid hunanolrwydd a gwag-ogoniant yw gogoniant y Duw goruchel a sanctaidd. Nid byw er mwyn moledd a gweniaith y mae Duw. Y mae gogoniant Duw yr amcan mwyaf uchel ac anrhydeddus mewn bod, ac y mae yr hyn sydd fwyaf llesol i'w greaduriaid. Yn awr yr ydym yn cael ein harwain, yn

4. At y rhai a ymlynant wrth yr hen syniad o gosbedigaeth dragywyddol. Er ceisio, a cheisio yn galed weithiau, i ddysgwyl fod gobaith am adferiad o'r byd nesaf, nid wyf yn gweled fod y rhesymau a ddygir yn mlaen i ddangos hyny ond llusernau sydd yn diffodd yn nghorwyntoedd bygythion difrifol Duw. Yn wir geiriau yr Iesu addfwyn, llawn cariad, a thosturi tuag at bechaduriaid, gwir gyfaill a Gwaredwr pechaduriaid, sydd wedi fy argyhoeddi i nad oes dim gobaith i mi am fy nghadw os parhau yn annuwiol a fynaf hyd angeu; ac os na welaf fod gobaith i mi, pa fodd y gallaf bregethu fod gobaith i neb arall? Yr wyf yn troi yn ol o'r pegwn ofnadwy yma, heb weled y gradd lleiaf o wawr gobaith yn tori allan o'r un tu. Eled pob un yn ystyriol dros eiriau Iesu Grist ar y mater yma, y rhai a draethodd drachefn a thrachefn, gyda difrifwch rhybuddiol. Gwyr ef beth sydd yn y byd arall. Ni

ddaeth efe i dwyllo, ac nis gallai ef gamgymeryd. Chwi a gewch y gwirionedd yn ffrydio allan ar adegau ac mewn manau na ddysgwyliech am dano. Gwna hyn iddo ddyfod atom yn fwy miniog. Pan y cyfeiria at bechod Judas yn ei fradychu, dywed, "Gwae y dyn hwnw trwy yr hwn a bradychir Mab y dyn : da fuasai i'r dyn hwnw pe nas ganesid ef." Os oedd Judas i gael ei achub yn y byd nesaf, a fuasai Iesu Grist yn dyweyd, "Gwae y dyn hwnw," a "da fuasai i'r dyn hwnw pe nas ganesid ef?" Beth sydd yn y cwmwl du ofnadwy yna sydd wedi ei gylchu a'r gair "gwae?" Ai tybed mai fel hyn y buasai hen Athraw Judas yn llefaru, pe buasai i gael ei achub mewn rhyw dymor yn y byd ysbrydol.

Dywed drachefn a thrachefn, yn Marc ix., yn ol yr hen gyfieithiad : "Ac nid yw eu pryf hwynt yn marw, na'r tân yn diffodd." Ac er fod y Cyfieithiad Diwygiedig yn gadael allan adnodau 44 a 46, eto y mae yr 48ain yn aros yn ol fel y dyfynwyd hi yn awr. Darllenwn y darluniad a rydd Crist o'r "farn ddiweddaf," a chofier mai efe fydd y Barnwr. "Ewch oddiwrthyf, rai melldigedig i'r tân tragywyddol, yr hwn a barotowyd i ddiafol ac i'w angylion" (Mat. 25 : 41). Mewn difrif, a allwn am fynyd feddwl y buasai yn defnyddio y fath ymadrodd pe buasai yn eu hanfon i gael eu hachub mewn rhyw gyfnod ar ol hyn? Darllener holl gyfeiriadau Crist at y gosb ddyfodol, a cheir fod yna ryw ddifrifwch annhraethol yn y gwirionedd yma. Er holl ymdrech ysgolheigion yr oes yma i geisio dangos nad yw "tragywyddol" yn golygu amser diderfyn, nid wyf yn gallu gweled neb yn llwyddo i wneyd dim arall o *aionios* amgen i'r hyn a wnaed o hono gan y

dysgedig Moses Stuart. Cadarnheir ei ymchwiliad ef gan amryw ysgolheigion enwog yn y dyddiau hyn, megys Dr. Alvah Hovey, Dr. Samuel C. Bartlett, a Dr. W. S. Tyler. Ac y mae Dr. W. R. Hartington, o Worcester, er yn dadlu dros ddifodiant, yn cyd-dystio fod *aionios* yn golygu amser diderfyn mewn cysylltiad a bodolaeth Duw, tynged yr annuwiol, a gwynfyd y saint. Os gall olygu amser terfynol mewn un o'r cysylltiadau yna, gall olygu hyny yn mhob cysylltiad. Gwan iawn yr wyf yn gweled ymdrech Dr. James M. Whiton i wneyd y gair yma i gyfeirio at ansawdd yn hytrach na pharhad cosb a gwynfyd dyfodol. Yn awr, dyna fel yr wyf fi yn gallu casglu oddiwrth rediad teg a chyson y Beibl am y gosb ddyfodol. Nid wyf yn gweled dim gwawr gobaith am adferiad o uffern yn y geiriau hyny: "Trwy yr hwn yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysbrydion yn ngharchar" (1 Pedr 3: 19). Nid oes yma un sail i gredu fod Iesu Grist yn bersonol rhwng y marw a'r adgyfodi wedi myned i bregethu "i'r ysbrydion yn ngharchar." Dywed yr adnod yn eglur mai "trwy yr hwn," sef yr Ysbryd Glan, y pregethodd. Y meddwl eglur i mi yw, fod Crist trwy ysbryd Noah, wedi pregethu i'r cynddiluwiaid, gan ddangos amynedd mawr am lawer o flynyddoedd, ac iddynt hwythau barhau yn anufudd, a'u bod yn awr yn "ysbrydion yn ngharchar." Yn hytrach na chodi gwag-obeithion o flaen gwrandawyr efengyl, dylem eu rhybuddio yn ddwysach, a dangos iddynt y pechod ofnadwy o wrthod efengyl; ie, y fath efengyl. Y mae rhyw gynwys rhyfedd yn yr efengyl, o'r bwriad tragywyddol hyd yr ymgnawdoliad, y marw, yr adgyfodi, yr esgyn, y gogoneddu, a'r bywyd nefol.

Rhaid fod gwrthod y fath Waredwr, a'r fath iachawdwriaeth, yn bechod i'w gosbi byth. Ond wrth egluro yr athrawiaeth ddifrifol hon, dylid cadw yn fanwl at linellau datguddiad Duw yn y Gair, a pheidio cyhoeddi darluniadau dychymygol am uffern. Y mae ein ffyddlondeb i Grist, a'n perthynas â phechaduriaid, yn galw am i ni wneyd hyn. Os oes rhywbeth i leddfu yr athrawiaeth bwysig yma, gall y ddau beth canlynol wneyd ychydig at hyny: 1. Y bydd gwahanol raddau yn y gosb. Ni ddyoddefa neb ond oddiwrth ac am ei bechodau ei hun. 2. Y bydd nifer y rhai a gollir yn fach mewn cyferbyniad i'r rhai a gedwir. Ni chollir yr un baban, na phlentyn o dan oed, o unrhyw oes na gwlad. Bydd cyfnod maith o lwydd cyffredinol ar grefydd. Trwy bob peth cedwir tyrfa na ddichon neb eu rhifo. Eto, gofalwn ni rhag bod yn ol; ac os yw yr athrawiaeth o dragywyddol gosb yn wir, pregether hi yn onest a ffyddlawn yn ol ei phwysigrwydd.

*Adgyfodiad Crist.*—Nid oes yr un ffaith yn hanes y Gwaredwr wedi cael mwy o sylw beirniaid Ysgrythyrol na'r athrawiaeth hon y blynyddoedd diweddaf. Hawdd canfod ei bod yn bwysig gan bob meddyliwr dwfn-ymchwilgar. Eto yr wyf yn llwyr gredu, fel y dysga Proff. Taylor Lewis, fod gormod o bwys o lawer wedi cael ei roddi ar wrthddadleuon yr oes hon. Gan nad faint a ddywedir am nerth y gwrthddadleuon a ddygir gan y Rhesymolwyr yn Germani, ac yn Lloegr, a'r wlad hon, y mae amddiffynwyr yr athrawiaeth wedi dangos eu bod yn fwy na gorchfygwyr ar eu gwrthwynebwyr, ac wedi dwyn y gwirionedd yma yn fwy goleu, anwyl, a gwerthfawr i'r eglwys Gristionogol. Eler dros y cyfeiriadau a wneir at yr athrawiaeth

yn Mat. 28; Marc 16; Luc 24; Ioan 20; Act. 1 : 3; 2 : 24—32 ; 3 : 15 ; 4 : 10 ; 13 : 30; 17 : 31 ; 1 Cor. 15 : 3—12, &c. Wrth fanylu ar y rhai hyn, fe welir eu bod yn dysgu yn amlwg fod Crist wedi adgyfodi o feirw. Rhyw ymhonwyr beiddgar a hunanol iawn yw y rhai a geisiant ddadlu fod hyn yn annichonadwy. Rhaid gwybod llawer mwy nag a wyddis yn awr am natur, a Duw, a'r byd ysbrydol, cyn y gellir dyweyd gyda gradd o sicrwydd fod hyn yn annichonadwy. Felly ymdrech mawr y Rhesymolwyr yw ceisio esbonion yr amgylchiad yn wahanol i'r hyn a wna yr Efengylwyr a'r Apostolion. Ffaith lled anhawdd ei dymchwel ydyw fod meddyliwr mor alluog a Phaul yn credu ynddi. Enwa efe yn y rhan y cyfeiriwyd ati yn ei Epistol at y Corinthiaid, chwech o wahanol dystiolaethau dros yr hyn a bregethai, a'r un olaf ydyw iddo ef ei hun ei weled (1 Cor. 9 : 1). Y mae tystiolaeth y tri Efengylwr, y tri Apostol, a'r Cristionogion cyntefig, oll yn unol o blaid yr athrawiaeth o adgyfodiad Crist. Methodd ystryw yr Iuddewon i daflu amheuaeth ar y ffaith, gan i eglwys o filoedd o aelodau gael ei chodi yn Jerusalem yn fuan ar ol adgyfodiad Crist, ac o dan ddylanwad pregethu yr athrawiaeth. Ymdaenai y newydd i bob gwlad, a chredid ynddo gan bobl o bob dosbarth a chenedl. Cydnabydda Strauss a Baur fod yn amlwg fod yr apostolion a'r Cristionogion cyntefig yn credu yn y ffaith o adgyfodiad Iesu Grist. Yn awr rhaid ceisio rhoi esboniad arall ar yr amgylchiad. Ceisir taeru na fu Crist ddim marw mewn gwirionedd, ond iddo ddadebru o lewyg drom a maith. Mor anhygoel ydoedd hyn! Meddylier am ymdrech galed yr Iesu yn yr ardd, y driniaeth a gafodd yn y llysoedd, y

fflangelliad caled a gafodd gan hen fflangellwyr creulon a chyfarwydd Rhufain, iddo gael ei hoelio draed a dwylaw, ac aros yn yr ystum pangfaol hwnw am chwe' awr, ac i un o'r milwyr wanu gwaewffon i'w ystlys, ac iddo fod yn y bedd am ddwy noson, a diwrnod cyfan, heb fwyd nac ymgeledd, ai tybed iddo ddal yr oll heb farw? Y mae yn annhebygol i'r eithaf, a dyweyd y lleiaf. Ofer ceisio haeru mai rhyw ddychymygiaeth freuddwydiol oedd yr oll o du ei gyfeillion. Onid oedd y milwyr yn credu yn ei farwolaeth, gan na thorasant yr un o'i esgyrn? Os cael eu twyllo yr oedd ei gyfeillion yn ei farwolaeth a'i adgyfodiad, yr oeddynt yn cael eu twyllo yn eu golwg, eu clyw, eu teimlad, a'u rheswm. Glynent yn y syniad yma ar hyd eu hoes, er gwaethaf pob cosb a phoen. Meddylier am gynifer wed eu twyllo; Thomas yn gystal a Phedr, y pum' cant yn gystal a Mair Magdalen. Y mae yr ymdrech ddyeithr a chaled i geisio esbonio yr amgylchiad yma yn cadarnhau i mi yr adroddiad ysgrythyrol. Addefa rhai o wadwyr diweddaf y ffaith, fod rhywbeth tebyg wedi cymeryd lle i'r hyn a adroddir, ond mai rhywbeth tebyg i'r hyn a honir gan ysbrydegwyr y dydd ydoedd. Mewn difrit, a raid i ni gredu mewn ysbrydegiaeth o flaen ysbrydoliaeth? Y mae hyn yn dangos fod y gwrthwynebwyr wedi gorfod myned i gongl gyfyng iawn i geisio gwadu tystiolaeth eglur a chyson y Beibl. Edrycher ar yr oll, a cheisier barnu yn deg beth ddaeth o Iesu Grist ar ol ei groeshoelio a'i gladdu. Os na adgyfododd fel y dywed yr Efengylwyr, beth ddaeth o'i gorph? Pan y pregethodd Pedr ar ddydd y Pentecost ei adgyfodiad, o fewn ychydig fynydau o daith i'r fan y claddwyd ef, paham na fuasai yr Iuddewon yn arwain y miloedd at y fan y gorweddai, neu yn gwneyd yr ymchwiliad llwyraf am y lle y dodwyd ef gan ei gyfeillion? Yn wir, y maent hwy yn tystio fod ei fedd yn wag, ac y mae ei gyfeillion yn tystio ei fod wedi adgyfodi. Os nad oeddynt yn dweyd y gwir, mor hawdd fuasai eu gwrthbrofi.

Rhaid, feddyliwn i, mai y peth doethaf, callaf, a diogelaf, yn gystal a mwyaf crefyddol, yw derbyn tystiolaeth yr efengylwyr a'r apostolion ar y mater. Y mae Crist ei hun, pan yr ydoedd efe eto yn fyw, yn cyfeirio at ei adgyfodiad, "Canys fel y bu Jonas dridiau a thair nos yn mol y morfil, felly y bydd Mab y dyn dridiau a thair nos yn nghalon y ddaear," (Mat. 12: 40). "Dinystriwch y deml hon, ac mewn tridiau y cyfodaf hi," (Ioan 2: 19). Ofer ceisio priodoli yr athrawiaeth i ddychymygiaeth ofergoelus canlynwyr Crist, gan fod Crist ei hun yn honi yr adgyfodai. Y mae yr athrawiaeth hon fel craig yn dal pob ymosodiad, ac y mae yn un bwysig iawn i'n crefydd. Y mae yn greadigaeth newydd, y troir y seithfed dydd i'r dydd cyntaf o'r wythnos er ei chadw mewn cof oesau y ddaear. Y mae yn gadarnhad o dderbyniad yr aberth iawnol. Talwyd y ddyled, ac y mae y Meichiau yn fyw. Fel y dywed Proffeswr Kein, "Ar fedd gwag y mae yr eglwys wedi ei sylfaenu." Neu fel y dywed yr hybarch Henry Rees, Liverpool, "Planhigyn wedi tyfu ar fedd Iesu Grist yw yr efengyl." Y mae pob peth a ddysgodd Iesu Grist am dano ei hun, am ei Dad, ac am yr Ysbryd Glan, ac am ddyn yn ei gyflwr presenol, a'i obeithion dyfodol, yn cael eu cadarnhau yn ei adgyfodiad ef. Y mae hefyd yn sicrwydd arbenig o adgyfodiad y saint —efe yw y blaenffrwyth, daw y cynauaf. Nid oes ond gwahaniaeth amser rhwng y blaenffrwyth a'r cynauaf. Dysga hefyd y cawn ninau ein cyrph ein hunain i ddod i'r lan o'r bedd. Yr oedd corph Crist wedi ei drawsffurfio, ond yr un ydoedd, fel y dysga yn ei ymddyddan â Thomas. Yr oedd cyfnewidiad yn ei wedd, fel y prawf fod Mair Magdalen yn yr ardd yn methu ei adnabod, ac felly y dysgyblion wrth fôr Tiberias. Nid oedd o dan yr un deddfau ag o'r blaen— nid oedd angen am orphwys, cwsg, nac ymborth. Yr oedd yn gallu ymddangos, a diflanu o olwg fel y dewisai. Daeth i mewn i'r ystafell yn Jerusalem a'r drysau yn gauad. Nid oedd yn aros ac yn lletya gyda y dysg-

yblion fel ag o'r blaen, ac ni chawn ef yn cymdeithasu â'r nefoedd trwy weddi fel o'r blaen. Y mae wedi myned trwy gyfnewidiad mawr, a dichon iddo fyned trwy fwy o gyfnewidiad wrth esgyn i'r nef. Eto yr un corph sydd ganddo, ac yn arbenig felly yr un galon, yr un gwaith, yr un amcanion grasol sydd ganddo. Os y bu byw fel prophwyd, ac os y bu farw fel offeiriad, y mae wedi adgyfodi fel brenin. Ymdeimla ei fod wedi gorchfygu, "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear." Y mae rhyw rym rhyfeddol yn yr athrawiaeth hon, a dylai fod yn fwy gwerthfawr gan yr eglwys Gristionogol. Nid oes gan yr un grefydd ar y ddaear y fath wirionedd pwysig, goleu, a diymwad i'w ddysgu i'r byd. Y mae yn taflu goleu i waelod y bedd. Nid rhaid i'r Cristion ofni dim, ac ni ddylid galaru fel rhai heb obaith am y saint ymadawedig. Y mae yr athrawiaeth fendigedig hon yn teilyngu cael ei myfyrio yn amlach, ac yn ddyfnach. Dylai, fel y dysga Nott, Lange, Liddon, Godet, ac eraill, gynhyrfu a rheoli ein teimlad, ein penderfyniad, a'n holl fywyd. Priodol y gelwir adgyfodiad Iesu Grist yn brif ffaith (*cardinal fact*) yn ei hanes. A oes rhyw un yn brudd wrth feddwl am y daith trwy y glyn? Aed o ran ei feddwl at fedd gwag yr Iesu, a thros holl hanes ei adgyfodiad. Ca "oleu yn y glyn," a hwyl ar chwareu tánau main a melus "telyn y glyn."

DIWEDD.

